

R. R. WILLIAMS, L'ANSE, MICH.

# DAFYDD MORGAN

—NEU—

# Ddylanwad Addysg yr Aelwyd;

—HEFYD—

## ADGOFION MEBYD,

—GAN—


R. R. WILLIAMS,

L'ANSE, MICH.


---


UTICA, N. Y.:
T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, SWYDDFA Y DRYCH.
1897.

# AT Y DARLLENYDD.



PAN welais destynau Eisteddfod Granville, N. Y., yn y "Drych," syrthiais mewn cariad ar unwaith â'r testyn—"Dylanwad Addysg yr Aelwyd;" ac fel y mae cariad bob amser yn gweled pob hawddgarwch yn ei wrthrych, felly yr oeddwn inau—gwelwn ef oll yn hawddgar. A mi yn credu mai "nod angen" awdwr i'w gymwyso i gyfansoddi, ydyw ei fod mewn cydymdeimlad cyflawn â'i destyn, tybiwn fod y cymwysder hwnw ynwyf, er fy holl ddiffygion. Yr oeddwn wedi "gwirioni o gariad," fel ag yr oedd y testyn yn glynu yn fy meddwl ddydd a nos! Ond yr oedd yr enwad "Ffug-chwedl" yn nglyn a'r testyn yn dipyn o dramgwydd i fy meddwl; ac yr oeddwn yr un fath o ran fy nheimladau a bachgen o Gymro a adwaenwn flynyddau yn ol yn West Bangor, Pa., yr hwn oedd wedi syrthio mewn cariad chwilboeth at eneth ieuanc brydweddol yn yr ardal. Pabyddes selog oedd yr eneth, a dywedodd y bachgen wrthyf y buasai ef yn ei phriodi, oni buasai am ei chrefydd; oblegid gwyddai y buasai hyny yn tori calon ei hen fam anwyl yn Nghymru. Felly yr oeddwn inau yn caru y testyn, "Dylanwad Addysg yr Aelwyd;" ond gan mai "Ffug-chwedl" a ofynid ar y testyn a garwn mor fawr, ofnwn y buasai i mi wrth ymgymeryd ag ysgrifenu, yn rhoddi dianrhydedd ar goffadwriaeth fy mam a fy nhad, yn nghyd a'm hen athrawon yn Ysgol Sabbothol Capel Coch, Llanberis, a'r hen flaenoriaid duwiol fu mor ymdrechgar i'm hyfforddi. Cofiwn yn dda beth oedd eu

syniadau hwy am Nofels. Yr oedd Nofels yn nghof rhai sydd eto yn fyw yn cael eu rhestru gyda chwarecardiau, a myned i'r chwareudai, yn nghyd a difyrion ameus eraill. Dyma y modd y desgrifiai Pollok y Ffug-chwedl yn ei amser ef:

"A novel was a book,
Three volumed, and once read oft cramned full
Of poisonous error blackening every page."

Ac ysgrifenodd Cowper am ysgrifenwyr Nofels:

"Writers of what none with safety read."

Ac un o'r pethau rhyfeddaf yn y cysylltiad yma ydyw yr hyn a gawn mewn llyfr a gyhoeddwyd gan y Parchedig Dr. Crane, tad y Nofelydd poblogaidd Stephen Crane, chwedlonydd penaf yr oes hon. Cyhoeddwyd y llyfr gan y Dr. yn y flwyddyn 1869, dan yr enw "Popular Amusements," yn yr hwn y darllenwn y nodiadau canlynol: "Novel reading has become one of the great vices of our age;" a rhydd i lawr fel rheol bendant —"If you have but little time for reading, spend none of it on works of fiction." Dyna rai o syniadau y dosbarth goreu o gymdeithas y cyfnod y cyfeirir ato; a dyna y cof cyntaf sydd gan yr awdwr am syniadau hen bobl dda ardal ei faboed.

Cyn ymgymeryd ag ysgrifenu un sill ar y testyn, gwnaethym ymchwiliad manwl beth ydoedd yr anghenfil dychrynllyd—Ffug-chwedl. Y peth cyntaf a wnaethym oedd ymgyngori â geirlyfr Webster, am ystyr yr enw Nofel, a dyma ydyw ei ddeffiniad ef: "Adroddiad chwedl ddychymygol drwy yr hon yr amcanir arddangos gweithrediadau y nwydau, ac yn benaf y serch." Yn sicr nid oesdim yn niweidiol—dim drwg yn y ffaith ei

bod yn ddychymygol. Mae pryddest odidog Milton, "Coll Gwynfa," bron oll yn ffrwyth dychymyg y gwr enwog. Onid yw cynyrchion dychymygol darfelydd medrus Ieuan Glan Geirionydd, ac Eben Fardd, yn eu gweithiau gorchestol ar yr "Adgyfodiad," wedi eu seilio ar ffeithiau allan o'r Beibl? A'r un modd llawer o weithiau y prif feirdd, a llenorion hen a diweddar. Dyna y llyfr poblogaidd, "Taith y Pererin," gan John Bunian, yr hwn sydd wedi ei gyfieithn i fwy o wahanol gangen-ieithoedd nag un llyfr ond y Beibl—nid ydyw ond ffrwyth myfyrdodau y gwr duwiolfrydig ar y Beibl pan oedd yr awdwr yn garcharor yn Llundain oblegid ei grefydd! A dyma weithiau Homer a Virgil, a ystyrir yn safonau beirdd a llenorion yr oesau, o'r un natur. Onid ydyw y dychymyg yn un o alluoedd y meddwl, ac yn rhodd Duw, mor wirioneddol, ac wedi ei gymwyso at weithredu ag ydyw yr ewyllys, y cof, a'r gallu ymresymiadol? Ac oni wnaeth ein Harglwydd ddefnydd helaeth a mynych o'r elfen hon yn ein natur pan ddysgodd y bobl drwy ddamegion a chwedlau, megys dameg Y Mab Afradlon? Yn wir, daethym i'r penderfyniad nad oes mwy o niwed mewn darllen neu adrodd Ffugchwedl nag y sydd mewn arogli rhosyn neu wrandaw peroriaeth. A beth os serch fydd testyn y chwedl? Serch ydyw prif nwyd y galon ddynol; ac y mae Scott yn gywir i'r gwirionedd pan y dywed—

"Love rules the court, the camp, the grove."

Y mae serch nid yn unig yn destyn y chwedlonydd, ond y bardd, yr arlunydd, ac i raddau helaeth yr hanesydd. Diau fod achos i gwynion ac ofnau, yn nghyd a rhybuddion difrifol arweinwyr a gwiliedyddion crefydd a moesau da, am mai isel a llygredig oedd nodweddion

y rhifedi lluosocaf o chwedlau y cyfnod y cyfeirir ato; eithr y mae cyfnewidiad er gwell wedi cymeryd lle gyda Nofels, fel llawer o bethau eraill cyffelyb yr haner canrif diweddaf. Da y cofia yr awdwr am hen Gristion cywir yn y Capel Coch, pan oedd ef yn fachgen, yn dywedyd nad allai ef oddef gweled neb yn canu yn y capel a llyfr main o'i flaen, gan gyfeirio at y llyfrau tonau oedd yn dechreu dod i arferiad ar yr adeg. Y mae rhagor rhwng Nofel a Nofel eto, a da fyddai cofio hyny wrth brynu a darllen llenyddiaeth o'r natur. Ffug-chwedlau ydyw y rhanau helaethaf o lyfrgelloedd ein hysgolion Sabbothol; ond y maent yn ddetholion gofalus o'r dosbarth goreu a'u tuedd at ddyrchafu chwaeth ac addysgu y darllenydd—er y dichon fod yr enw Nofel yn dramgwyddus eto i ambell i hen Gristion cywir, yn debyg i'r fam hono na fynai er dim i'w bachgen gael crwth, ond yn foddlawn iddo gael nabl.

Dysgir hanesyddiaeth yn awr yn wir effeithiol drwy y Ffug-chwedl, ac yn wir dysgir ni mewn hanesiaeth gysegredig yn y ffordd hon. Dyna y Nofel fyd-enwog, "Ben Hur," gan yr Americanwr anrhydeddus Lew. Wallace, a'r Ffug-chwedl fywgraffyddol, "Rhys Lewis," gan ein diweddar gydwladwr enwog Daniel Owen y Wyddgrug, yr hon sydd wedi ac yn cael derbyniad a chymeradwyaeth y genedl Gymreig—y maent yn llawn addysg. Yn wir, y mae hyd yn nod cwestiynau dyrys gwyddoniaeth yn cael eu dysgu drwy offerynoliaeth y Nofel yn awr! Erbyn y dyddiau diweddaf hyn mae y Ffug-chwedl wedi ei hurddasoli a dyfod yn offeryn addysg effeithiol. Er mai prif gamp Nofel ydyw difyru y darllenydd, mae i bob Nofel iachus a rhinweddol ei gwersī moesol yn amcan iddi, a thrwy ei hystryw yn am llwyddir i ddal aml i berson a ddarllena chwedl er mwyn

y difyrwch a ga ynddi, ond a arweiniwyd drwy ei chyfaredd i weddio!

Pan yn cyflwyno y chwedl ddylynol, yr hon a ddyfarnwyd yn oreu o bump yn y gystadleuaeth yn Eisteddfod Iforaidd Granville, N. Y., Medi 5, 1896, gan y Barnydd a'r Beirniad H. M. Edwards, Scranton, Pa.; gwn fod ynddi lawer o ddiffygion; ac er i mi wneyd fy ngoreu arni, ni ddaeth i fyny a'm cynllun a'm dysgwyliad o lawer; a pha mor lymdost bynag y beirniadir hi gan y darllenydd, ni fydd yn fwy felly nag y bu yr awdwr ei hun wrth geisio ei gwella, a chondemniwyd hi fwy nag unwaith fel un hollol annheilwng i'w hanfon i'r beirniad. Ymdrechwyd dylyn natur, a gochel gormodiaeth drwy y chwedl wrth ymdrin a'r gwahanol gymeriadau ynddi. Mae yr oll o'r chwedl wedi ei seilio ar ffeithiau a geir yn wasgaredig drwy y gymdeithas ddynol.

Er nad yw y llyfr onid bychan, costiodd ei feddwl a'i roddi at ei gilydd fisoedd o lafur i'r awdwr, a hyny dan lawer o anfanteision. Gan obeithio y bydd i'r darllenydd o hono brofi o'r mwynhad ag a gafodd yr awdwr wrth ei feddwl, a dim o'i bryder, y cyflwynir y llyfr i'r cyhoedd i sefyll neu syrthio yn unol a'i deilyngdod. Nid oedd y penillion, "Adgofion Mebyd," yn y gystadleuaeth.

R. R. WILLIAMS.

*L'Anse, Michigan, Ebrill 1, 1897.*

# BEIRNIADAETH Y BARNYDD H. M. EDWARDS.



DERBYNIAIS bump o Ffug-chwedlau. Amrywiant yn eu teilyngdod llenyddol, yn amgyffrediad yr awdwyr o'r testyn, ac yn ngweithiad allan neu ddadblygiad egwyddorion a gwersi pwnc yr ymdriniaeth. Y mae yn amlwg i mi nad yw yr ymgeiswyr yn ysgrifenu er mwyn y wobr; o herwydd y mae y cyfansoddiadau, bob un o honynt, yn fwy o werth na'r wobr, a rhai o honynt yn gynyrch misoedd o lafur dyfal.

*   *   *   *   *

5. Hen Drigianydd.—Y mae hon yn Ffug-chwedl faith, wedi ei hysgrifenu mewn iaith ac arddull naturiol, ac yn dangos dylanwad addysg yr aelwyd mewn teulu am dair cenedlaeth. Yr arwr yw Dafydd Morgan. Nid hir y bum cyn syrthio mewn cariad a chymeriad yr arwr. Ymddengys ei rinweddau syml, ei fuchedd ddirodres, ei ymddadblygiad cyflawn fel dyn, pen teulu, cymydog a dinesydd, yn ganlyniadau anocheladwy yr addysg a dderbyniodd ar aelwyd ei dad. Gwir i'r had gael ei hau mewn tir da, eto ffrwythodd ar ei ganfed. Gallasai yr awdwr adael allan amryw ranau o'i chwedl heb ei niweidio fel cyfansoddiad cyfanffurf. Y mae y desgrifiadau meithion a rydd efe o deithiau ei arwr yn Lloegr ac America, o olygfeydd naturiol y wlad, ac o hanes Wisconsin, yn ddyddorol iawn, ac yn brawf o wybodaeth eang yr awdwr; ond y maent yn tueddu i wanhau dyddordeb yr ystori. Eto i gyd, nid yw hwn ond bai cymharol fychan. Erys Ffug-chwedl Hen Drigianydd y dadblygiad cyflawnaf o'r testyn yn y gystadleuaeth. Rhodder iddo ef y wobr.

## "ADDYSG YR AELWYD."



Yr wyf yn cymeradwyo yr anturiaeth o gyhoeddi Ffugchwedl fuddugol R. R. Williams. Fel adroddiad o ddygwyddiadau, y mae y chwedl yn naturiol, dyddorol ac addysgiadol. Cefais lawer o foddhad wrth ei darllen a'i beirniadu. Gobeithiwyf y derbynia yr awdwr gefnogaeth deilwng gan ei gydgenedl,

H. M. EDWARDS.

*Scranton, Pa., Ebrill 9, 1897.*

---

## *GWELLIANT GWALLAU.*

Tu Dal. 63, yn lle "cwpanaid" darllener *cybynad*, gair a arferir yn Arfon am haner bwsiel.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Tu Dal. | 69, | yn lle | "1777" | darllener | 1776. |
| " | 74, | " | "Llechi tai" | " | Llechi *toi*. |
| " | 140, | " | "gut-lyn" | " | *gul*-lyn. |
| " | 188, | " | "o'ent" | " | *oedd*. |
| " | 188, | " | "llwyd" | " | *llesg*. |

## ANERCHIADAU Y BEIRDD.



Nodau glân wedi glynu—o'r aelwyd
Bur, welir yn tyfu,
Drwy y chwedl nes cenhedlu
Awydd cael pob rhinwedd cu.

*Oshkosh, Wis.* J. EDNO ROBERTS.

---

Y pura' lyfr, perl yw o—o dalent
Williams yn dysgleirio;
Deil yn brid elw i'n bro,
A'i oludoedd heb lwydo.

Rheolau y bur aelwyd—ac addysg
Wiw iddo a gasglwyd;
Gobeithion llesg bwthyn llwyd,
Yn gyfoeth yn hwn gafwyd.

W. W. ROWLANDS (Toddeidfardd.)
*Cambria, Wis.*

---

Adail o ddim, hudol ddameg—a chwim
Ddychymyg yn hedeg;
Ar leni tŷn arluniau teg,
A cheinion wersi yn 'chwaneg.

*Cambria, Wis.* E. L. WILLIAMS.

---

Yr aelwyd dda 'i rheolau—yw gorsedd
Gwersi duwiol famau;
Dylanwad eu serchiadau
Lwydda y gwir—ladd y gau.

Ar hon traddodir hanes—dywenydd,
Daioni gwir achles;
I reidrwydd, yn ddirodres,
Er yni llwydd, rhana'i lles.

Athrofa o fendith ryfedd—i'r byd,
Er darbodi symledd
Ydyw hon, a nodau hedd
Yn athroniaeth a rhinwedd.

Aelwyd lan, aelwyd lonydd—yw y fan
I fyned ar gynydd;
Awen a serch yno sydd
Yn gwlwm hefo'u gilydd.

Eres, oesol rasusau—hyfrydwch
Cyfrodol deimladau,
O fyd y pur ddefodau—geir yn hon,
Rhag hynt gelynion rwygant galonau,

*Mount Oliver, Pa.* GWYNDAF.

---

Gyrfa oes yn gryf wysiwyd—gwyn neu ddu—
Drwg neu dda blanwyd;
Gwirio program gonest, mam wyd
Trwy eilio breintiau yr Aelwyd.

*Bennington, Vt.* R. J. WILLIAMS, M. D.

# CYNWYSIAD.



PENNOD I.



PENNOD II.



PENNOD III.



PENNOD IV.



PENNOD V.

PENNOD VI.



PENNOD VII.



PENNOD VIII.



PENNOD IX.



PENNOD X.



PENNOD XI.



PENNOD XII.

PENNOD XIII.



PENNOD XIV.



PENNOD XV.



PENNOD XVI.



PENNOD XVII.



---

# DAFYDD MORGAN.

## PENOD I.

TREFNUSFAES, CARTREF DAFYDD A GWENLLIAN MORGAN—PRIODAS EU MAB GOMER.

MEWN ardal ar waelod un o'r dyffrynoedd prydferthaf yn Sir Gaernarfon, G. C., gan mlynedd yn ol, gallesid gweled un o'r ffermydd harddaf, a goreu, yn y Sir. Nid am eangder na nifer ei herwau y rhagorai ar y ffermydd cyfagos iddi—ni chynwysai onid pedwar ugain erw o arwynebedd; ond yn ei dosbarthiad pwrpasol a'i diwylliant uchel a gwir ofalus. Gelwid y fferam hon Trefnusfaes; ac yn wir yr oedd yr enw yn llwyr nodweddiadol o'r tyddyn hwn bob troedfedd o hono. Mae rhywbeth mewn enw; oes, y mae llawer mewn enw, ac y mae llawer iawn o enwau nodweddiadol ar ffermydd yn Nghymru; canys y mae i bob fferam yn y wlad ei henw, ac felly y gwahaniaethir hwy y naill oddiwrth y llall. Y mae i bob enw fel hyn, ar yr anedd-dai a'r ffermydd, ei hanes, a'r hanes

hwnw yn llawn o ddyddordeb ond ei chwilio allan, yn arbenig felly i'r hynafiaethydd. Weithiau ceir fod yr enw ar fferam yn arwydd-ocaol o'i safle ddaearyddol, megys Ty'n y Mynydd, Glan y Don; brydiau eraill oddiwrth rywogaeth o goed a dyfai ar y tir, megys Bron y Fedw, Ty'n yr Helyg. Eraill a dderbyniant eu henwau oddiwrth agweddiad y tir, megys Gwastad Faes a Fron Deg. Weithiau rhoddid enw ar fferam gan ei pherchenog yn unol a'i chwaeth a'i fwriad i gario allan ryw ddull arbenig o amaethu ei dir, a chyfodi teulu, megys y fferam flaenaf a enwasom—Trefnusfaes. Yr oedd y fferam hon wedi bod yn feddiant rhydd-ddaliol yn y teulu o genedlaeth i genedlaeth er ys llawer o oesoedd.

Enw y gwr a'i perchenogai yn yr adeg y soniwn am dani oedd Dafydd Morgan, ac enw ei wraig oedd Gwenllian Owen—neu fel ei gelwid yn yr ardal—Gwen Owen; ac yn unol ag arferiad y Sir lle yr oeddynt yn byw, dyna fel y gelwid hi wedi iddi briodi Dafydd Morgan. Am y priodoldeb o'r arferiad hynod hwn nid oes i'w ddywedyd ond mai dyna oedd arfer gwlad; a "Trech gwlad nag arglwydd." Credwn i'r enw a roddwyd ar y tyddyn trefnus hwn ar y cyntaf gael ei lunio a'i roddi yn enw y

fferam, fel un o ffrwythau addysg aelwyd y teulu parchus. Sicr yw na roddwyd y fath enw awgrymiadol yn ddamweiniol mwy nag enwau eraill trwy y wlad; ond fe'i cynlluniwyd yn ofalus, gan lawn fwriadu i'r enw fod yn arwyddwers yn y teulu o genedlaeth i genedlaeth.

Yr oedd y ty a'r adeiladau eraill at wasanaeth yr amaethwr cystal eu cynlluniau a'u gwneuthuriad ag unrhyw adeiladau o'u bath y cyfnod hwnw, ac yn cyfateb i holl angenrheidiau yr amaethwr. Dosbarthwyd yn fanteisiol i gaeau, gweirgloddiau a dolydd, a'r oll dan ddiwylliant rhagorol. Yn nglyn a'r ty yr oedd gardd helaeth, yn yr hon y tyfid pob llysieufwyd at ddiwallu y teulu; a gwerthid llawer o gynyrch yr ardd yn marchnad y dref gyfagos yn wythnosol Fel yr oedd y wlad yn gwella trwy welliantau amaethyddol, y gweithydd yn cael eu hagor, a llaw-weithfeydd yn amlhau, cadwai Dafydd Morgan ei lygaid yn agored, a chymerai fantais iddo ei hun ar bob symudiad er gwell ddeuai dan ei sylw er cadw i fyny a'r amseroedd. Yn nghof rhai sydd yn fyw ail adeiladwyd yr holl adeiladau—nid rhywsut, ond gyda'r gofal a'r dyfalwch mwyaf, yn ol y cynlluniau diweddaraf. Yr oedd y defnyddiau o'r mathau goraf, a'r gwaith o'r mwyaf celfydd. Aeth Dafydd

Morgan i Gaernarfon, at yr arch-adeiladydd goreu yn y dref, a rhoddodd iddo amlinelliad manwl o'r adeiladau a ddewisai eu cyfodi ar ei dyddyn, gan erchi arno dynu allan gynllun cyflawn, fel y gallai gael adeiladydd celfydd i gario allan y cynllun i'r llythyren. Pan gafodd y cynllun, cytunodd ag adeiladydd profiadol, a dechreuodd ar y gwaith; a gorphenwyd yr oll yn unol a'r cynllun. Talai Dafydd Morgan i'w weithwyr yn fisol; a'r adeiladau hyny sydd i'w gweled yno hyd heddyw, ac mewn sefyllfa dda, ac nid ydynt ar ol yr oes, am eu bod y pryd hwnw o flaen eu hoes. Edrychid arnynt ar yr adeg fel cynlluniau i'w hefelychu gan y wlad, a phan fyddai rhai yn bwriadu gwneyd gwelliantau o'r fath, ni wnai neb hyny heb yn gyntaf ddyfod i weled adeiladau Trefnusfaes. Ie, deuai pobl i'w hedrych o filldiroedd o ffordd trwy y wlad; ac yn wir, fel yr addefid gan lawer o'r cyfryw, yr oedd yn talu yn dda i fyned unrhyw bellder, nid yn unig i weled yr adeiladau heirdd a gorphenedig, ond er mwyn archwilio y fferam, yr ardd, a'r berllan, am eu bod yn gynlluniau perffaith o amaethu.

Magodd Dafydd Morgan a'i briod dyaid o blant, a rhoddwyd iddynt oll esiampl deilwng, ac addysg briodol ar eu haelwyd; a chawsant

fanteision addysg goreu y Sir, yn Nghaernarfon, gyda'r hybarch Evan Richardson, yr hwn oedd athraw gofalus, nid yn unig am oleuo y pen, ond am wneyd trefn ar galonau ei ddysgyblion. Pan aeth plant Trefnusfaes ato, deallodd yn ebrwydd eu bod hwy wedi eu breintio ag addysg aelwyd, a'u rhoddi ar ben y ffordd, fel nad oedd ganddo ef ond eu cyfarwyddo ar y ffordd. Nid oedd ganddo neb yn ei ysgol cyffelyb iddynt am ddysgu eu gwersi, a chadw rheolau y sefydliad; a phan yr ymwelid a'r ysgol gan ddyeithriaid, plant Trefnusfaes a elwid i fyny bob amser i fyned drwy eu gwersi er dangos ansawdd yr ysgol. Yr oedd y plant hyn yn ddiarebol yn y dref a'r gymydogaeth am eu hymddygiadau gweddus a gwir foneddigaidd tuag at bob gradd yn ddiwahaniaeth; ac fel y deuent i oedran priodol ymsefydlasant y naill ar ol y llall ar eu haelwydydd eu hunain, a pha le bynag y byddai eu haelwyd, yr oedd dylanwad addysg aelwyd eu cartref i'w gweled ar eu haelwydydd. Priododd y merched, a sefydlasant ar ffermydd yn y Sir, a'r mab ieuengaf yn parotoi ei hun yn gyfreithwr, a'r mab hynaf, eu hetifedd, gartref gyda'r hen bobl yn cymeryd gofal y tyddyn; dyna oedd nifer y plant a'u henwau—Gomer, Gwladys, Hannah ac Arthur.

Pan welodd Gomer ei fod wedi ei adael yn unig gyda'r hen bobl, meddyliodd ei bod yn bryd iddo yntau gymeryd iddo ei hun gydmar bywyd, yr hyn a wnaeth trwy briodi Myfanwy Pryddarch, un o rianod harddaf y wlad, a'r hon yr oedd ef wedi bod yn cyfeillachu yn gar-wraidd er's llawer blwyddyn. Merch ydoedd i amaethwr cyfrifol, ac yr oedd wedi cael meith-riniad a dygiad da i fyny ar aelwyd rhieni gof-alus, a'i haddysg wedi bod yn bob peth a allesid ei roddi iddi gan dad a mam diwylliedig eu meddyliau, a duwiolfrydig eu hysbrydoedd. Derbyniasai hefyd addysg uwchraddol mewn Boarding School, a gwnaethai y defnydd goreu o'i breintiau; canys yr oedd y sylfaen a roddwyd i lawr ar yr aelwyd gan ei rhieni yn sail gadarn i oruwchadeiladu arni. Dyma y rhian bryd-weddol a lednais ddaeth yn wraig ac yn feistres yn amaethdy Trefnusfaes bedwar ugain a thair o flynyddoedd i'r flwyddyn hon.

## PENNOD II.

GOMER A MYFANWY MORGAN YN EU TY NEWYDD—DAFYDD EU CYNTAFANEDIG—CYFRIFOLDEB MAM.

---

DYMA undeb anrhydeddus—y ddau wedi cael eu cychwyn ar aelwydydd glan eu moesau, ac wedi eu hyfforddi a'u haddysgu yn drwyadl, yn fydol a chrefyddol. Yr oedd yr addysg o'r fath buraf, ac alch yr allor deuluaidd yn llawn o dan sanctaidd yn gwresogi yr aelwydydd y magwyd hwy ynddynt. Mae dylanwadau bendithiol addysg yr aelwydydd cysegredig hyn wedi llwyr feddianu calonau y ddau, a'u heffeithiau daionus yn llywodraethu eu bywyd ar ddechreuad eu gyrfa briodasol. Dyma ddeuddyn cydnaws, o'r un ansawdd meddwl a chalon, wedi ymuno â'u gilydd yn anrhydeddus yn y rhwymyn priodasol, a hyny o wir serch y naill yn y llall. Yr oedd Gomer ychydig flynyddoedd yn hŷn na'i anwylyd Myfanwy, ond nid gormod felly i'w gwneyd yn anghydmarus mewn un wedd. Pan ddaeth y wraig ieuanc i Trefnusfaes at ei phriod i ddechreu cyd-fyw ar eu haelwyd newydd, yr oedd efe

wedi cyfodi ty newydd hardd, a'i ddodrefnu yn chwaethus, yn unol a'i chyfarwyddiadau hi, rhwng yr adeg iddynt briodi a dechreu cadw ty eu hunain. Yr oedd yr hen bobl yn byw yn yr hen gartref ar eu haelwyd gynes a chysegredig, yn disgyn i lawr grisiau diwedd einioes, mewn tangnefedd heddychol, yn fawr eu parch, a'u dylanwad bendithiol yn perarogli y gymydogaeth. A bu dyfodiad eu merch-yn-nghyfraith, a'i gwenau siriol, a'i moesau llednais a swynol, yn adnewyddiad i fywyd y ddau hen bererin ar derfyn eu gyrfa. Byddai Myfanwy yn galw i'w gweled bob dydd, ac yn aml lawer gwaith yn y dydd, ac yr oedd ei phresenoldeb iddynt fel tywyniad heulwen. Ychwanegwyd llawer iawn at eu cysur yn eu henaint a'u penllwydni; a thrwy eu bod hwythau eu dau yn dirfion ac iraidd yn eu henaint, yr oedd yma gydnawsedd hapus, fel yr oedd y ddau yn barod i ddywedyd fel y gwr hwnw gafodd Waredwr y byd i'w freichiau, "Yr awrhon, Arglwydd, y gollyngi dy was a'th lawforwyn mewn tangnefedd. Dyma ein cyntafanedig wedi ei fendithio a gwraig yn unol a'th air sanctaidd, 'Y neb sydd yn cael gwraig sydd yn cael peth daionus,' a diolch i ti, Dad nefol, am i'n llygaid weled y peth hyn cyn i ni gael ein cludo at ein

tadau. Dyma yr aelwyd y cawsom y fraint o'i chysegru â'n gweddiau, a meithrin ac hyfforddi ein plant arni yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Diolch am y fraint a roddaist ti i ni, a diolch am arwyddion mor amlwg o dy fendith annhraethol ar ein gwasanaeth annheilwng gyda'n hanwyliaid pan gyda ni ar yr aelwyd."

Nid oes dim i'w gydmaru yn ei ddylanwadau a'i ganlyniadau i addysg yr aelwyd. Mor bwysig ydyw i'r addysg a gyfrenir, a'r esiampl a osodir ar aelwydydd fod yn bur! Nid oes derfynau i'w dylanwadau er drwg neu dda. Yr egwyddorion a heuir ac a feithrinir ar aelwydydd cartrefi y wlad sydd yn tyfu a ffrwytho, ac yn rhoddi ffurf ar bob cymdeithas wladol ac eglwysig. Dywedodd sylwedydd manwl yn ddiweddar yn Chicago, y gallai ef ddweyd wrth sylwi ar ddyn yn cerdded ar heolydd prysur y ddinas fawr hono, ar ba fath aelwyd y'i magwyd! Mae yr addysg a gyfrenir ar yr aelwyd yn cymeryd dyfnach gafael yn y serchiadau, ac yn fwy parhaol eu dylanwadau, na phob addysg a geir ar ol hyny. Bydd argraffiadau a dylanwadau addysg yr aelwyd yn aros pan fydd yr aelwydydd gan wir wres wedi eu toddi. Pwy sydd yn ddigon ystyriol o ganlyniadau addysg ac esiamplau aelwydydd ein gwlad?

Dyma wr a gwraig wedi dyfod at eu gilydd i ddechreu cyd-fyw dan amgylchiadau arbenig o fantesiol—cartref cysurus, a fferam dan y diwylliant doethaf. Mae un dan demtasiwn i aros a sylwi ar y ddau yn cychwyn ar eu gyrfa dan wenau heulwen mor siriol—Gomer Morgan yn wr cryf a heinif, gwridcoch ei ruddiau, a gwisgi ei symudiadau, corff lluniaidd a chydnerth, a'i holl arferion yn lan, gweddus a rhinweddol; a Myfanwy Pryddarch, canys dyna oedd ei henw morwynol, ac fel yna ei gelwid ar ol ei phriodi, fel y soniwyd yn barod am arferiad y wlad—yr oedd natur wedi bod wrthi ar ei goreu yn llunio ei chorff. Er nad oedd hi, fel y dywedir yn gyffredin, yn dlos, yr oedd yn serchus a swynol—ei gwenau siriol yn iechyd i gymdeithas, a'i gruddiau yn ddrych o wrid, a phob arwyddion o iechyd yn dawnsio ar ei gwyneb hawddgar a serchoglawn. Ond rhagoriaeth ei rhagoriaethau oedd ei meddwl diwylliedig, ei buchedd hardd, a'i rhodiad gweddus, yn nghyd a'i hymddygiad boneddigaidd a gwir naturiol tuag at bawb, bonedd a gwreng yn ddiwahaniaeth. Dyna oedd canlyniad yr addysg a gafodd ar aelwyd ei rhieni duwiolfrydig.

Ganwyd i Gomer a Myfanwy Morgan eu cyntafanedig—bachgen, a bu hyn yn llawenydd

mawr i'r teulu, ac yn rhwymyn newydd i dynhau eu serchiadau yn dynach nag o'r blaen; a phan welwyd y bychan gan ei daid a'i nain, rhoddodd ei daid ei law grynedig ar ei dalcen tyner, a dywedodd: "Duw a dy fendithio fy ŵyr bach anwyl," a chan edrych ar ei fam gofynodd iddi, "Fy merch anwyl, a gaf fi roddi fy enw iddo?" Ac â hyny y cydsyniodd y fam a'r tad yn ewyllysgar, a galwyd ei enw Dafydd Morgan. Dyfalai y taid a'r nain lawer beth a fyddai y bachgenyn hwn, a rhoddai y fam y cwbl at ei chalon. Pan yn gorwedd i fewn ar enedigaeth ei chyntafanedig, rhedai ei myfyrdod lawer ar ei sefyllfa newydd, fel mam. "Dyma fi yn fam," dywedai, "cymerais gam pwysig pan y priodais, a bum yn erfyn am arweiniad y nef i mi cyn newid fy sefyllfa o fod yn forwyn i'r sefyllfa briodasol; canys gwyddwn yn dda y chwanegai hyny lawer at fy ngofalon yn y sefyllfa newydd hono. Ond yn awr dyma fi yn fam, wedi fy nwyn i berthynas a chysylltiadau mwy pwysig nag y bum ynddynt erioed o'r blaen; dyma fi yn fam i fôd sydd i fyw byth; dyma gorff ac enaid wedi eu rhoddi i'm gofal, ac O! mor bwysig ydyw fy nyledswyddau i fagu y bôd a fydd byth!" Anfonodd

aml i weddi daer cyn cyfodi o'i gwely am gyfarwyddyd pa fodd i fagu ei phlentyn anwyl.

Trwy fod Mrs. Morgan, fel y soniwyd, wedi cael y fath addysg ar aelwyd ei rhieni, a manteision addysg uwchraddol mewn Boarding School, yr oedd hi yn fam ddiwylliedig, a hi a ddygai ei holl ymadferthoedd i weithredu yn awr ar ei dyledswyddau fel mam. Pan yn yr ysgol bu yn astudio y gangen werthfawr, anianddysg, a dechreuodd alw i'w chof ei gwersi iddi hi fel mam. Mae triniaeth plentyn o angenrheidrwydd, yn dechreu gyda'i gorff, oblegid rhaid ystyried plentyn yn benaf fel anifail ieuanc—yr anifail a ddadblygir gyntaf, ac yn mhob plentyn a enir yn dda ac iach, amlygir yr anifeilaidd yn flaenorol i'r dealldwriaethol. Dywedir gan un: "Os ewyllysi wneuthur dy blentyn yn ddyn da, gwna ef yn gyntaf yn anifail mawr." Mae rhagolygon rhagoriaeth plentyn i'w fesur i raddau wrth ei gylla a'i ysgyfaint. Y cyfnod pwysicaf gan hyny o driniaeth plentyn ydyw y cyfnod pan y mae yn anifail. Ymddengys mai trefn natur ydyw ffurfio yn gyntaf oll gyfansoddiad anianol cadarn, ac yn ganlynol ar y sylfaen hon oruwchadeiladu y dealldwriaethol a'r moesol. Os bydd y corff yn afiach a gwan, nid all y meddwl fod yn iach a chryf.

Mor werthfawr i'r fam hon oedd ei bod wedi talu sylw dyladwy i'r wyddor werthfawr hon, cyn ei bod hi yn fam, ac mor werthfawr a fyddai i bob mam dalu sylw i'r un wyddor, aniananddysg; a phe y telid sylw gan famau i hon, a'i hymarfer wrth fagu eu plant, ni byddai naw rhan o ddeg o afiechydon sydd yn y byd. Mae i famau ddeall a chario allan ar eu haelwydydd addysgiaeth aniandysg gyda magwraeth eu plant mor wir angenrheidiol a'u bwydo. Wel, dyma fam sydd i raddau boddhaol iawn yn ymwybodol o'i safle bwysig ar ei haelwyd, a gadawer i ni sylwi ar ei dull o fagu ei phlentyn, a'i addysgu ar ei haelwyd; a chymerwn benod arall at hyny.

## PENNOD III.

Y PLENTYN YW TAD Y DYN—ATHRONIAETH MAGU PLANT—YMBORTH A THEGANAU—ESIAMPLAU RHIENI.

---

NI ddywedwn y dylai mam fod yn feddyges, oblegid fel peth cyffredin arfera ormodedd o gyfferiau. Mae mor bwysig i fam wybod sut i adael llonydd i'w phlentyn ag ydyw iddi wybod sut i ofalu am dano. Mae hon yn wers a ddylid ei dysgu ar yr aelwyd, a'i hymarfer yn gyson. Ni bydd i blentyn byth grio a llefain os na chaiff gam gan ei fam. Mae plentyn iach fel angel yn wastadol. Rhodder bwyd iach yn gymedrol i blentyn, ac ni fydd perygl yr anmherir ei gylla. Ni wna awyr iach byth ysgyfaint afiach. Ni ddallwyd neb erioed gan belydrau gwasgaredig yr haul. Ni lygrwyd danedd erioed wrth falu bwyd iachus a maethlon. Ni bydd i blentyn byth awyddu am ddim i'w fwyta ag y dylid ei gadw rhagddo, oni bydd y fam wedi llygru ei archwaeth; ac nid ydyw chwant plentyn at fwyd byth i gael ei chymell. Ni fydd i undyn rhesymol dybied am fynyd y gellir trwy ddysgeidiaeth drawsffurfio natur gynhenid cre-

adur at fwyta ac yfed. Sylwi ar natur gyda'r pethau hyn ydyw un rhan o addysg yr aelwyd. Gwelir trwy y deyrnas anifeilaidd, gan gynwys dyn, fod greddf, yn arweinydd i bob creadur pa fath fwyd, a pha ddogn sydd gyfaddas i'w gyfansoddiad. Mae y pethau uchod yn ffeithiau heb yr un rhith o ffug yn agos atynt, wedi eu cael allan trwy sylwadaeth a phrofiad canrifoedd; ac y mae pob mam deilwng o'r enw, yn ei lawn ystyr, yn ystyriol o honynt, ac yn ymdrechu eu dylyn gyda'i phlant ar ei haelwyd. Ac yr oedd mam Dafydd Morgan yn un felly, am fod ei mam wedi ei haddysgu ar ei haelwyd.

Ymaflodd Mrs. Morgan ar unwaith yn ei dyledswyddau gyda ei chyntafanedig; nid ymddiriedai hi ei fagwraeth i famaeth o estron, yr hyn a ystyriai hi yn ymddygiad annaturiol mewn mam, os nad yn greulondeb. Un o wersi aelwyd ei mam hi oedd, mai y fam oedd i faethu ei phlentyn â llaeth ei bron; a bod i fam roddi magwraeth a meithriniad ei baban i fagwraig gyflogedig yn atalfa ar y ffrwd ddwyfol o atdyniad sydd rhwng mam a'i phlentyn, yn lle bod yn waed-guriad o undeb cynganeddol rhwng y fam a'i phlentyn; a bod tuedd yn yr arferiad annaturiol i leihau y parch mabol yn y plentyn at ei fam. Credai Mrs. Morgan fod

gwahanu y fam a'r plentyn oddiwrth eu gilydd yn yr oedran tyner pan y mae dolenau y gadwen dragwyddol yn cael eu morthwylio, yn ei gwneyd bron yn anmhosibl i'r plentyn garu ei fam fel ag y dylai wneyd hyny; ac nad allai plentyn yr ymddygwyd ato felly byth deimlo at ei fam fel y canodd y bardd naturiol Dafydd Ddu:

"Pwy a'm hymddygodd yn ddilys
  O dan ei gwregys mwynlan?
Pwy roes im' faeth a lluniaeth llon,
  O laeth ei bron bêr anian,
A phwy a'm cadwodd rhag pob cam?
  Fy anwyl fam fy hunan."

Dyna oedd egwyddorion ac addysgiadau aelwyd Trefnusfaes; ac y mae eu dylanwadau daionus yn aros, ac yn tyfu a dwyn ffrwythau yn y teulu y naill genedlaeth ar ol y llall. Gofalai y fam hon na roddid i'w phlentyn un math o felusion cymysgedig, rhag trwy hyny lygru ei gylla â phethau niweidiol. Sylwai hi yn ddyfal ar dueddiadau naturiol y plentyn, ac os na byddai "llaeth ei bron bêr anian" yn ddigonol i'w ddiwallu, gofalai am yr ymborth tebycaf ac agosaf a allai ei gael i laeth ei bron. Os y byddai ei baban weithiau yn groes ac anynad, yr hyn beth na ddygwyddai ond pur anfynych, ei

meddyginiaeth hi fyddai dylyn natur, ys dywed yr un bardd:

"Er blino'm mam garuaidd iawn,
A digio na chawn degan,
Hi'n fynych, wedi im' syrthio'n groes,
Iachâi fy loes â chusan."

Cynllun y fam hon oedd natur yn cael ei hategu gan ddiwylliant ei meddwl, trwy addysg yr aelwyd. Byddai Mrs. Morgan yn nodedig o ofalus wrth ddewis a phrynu teganau i'w phlant; ni roddai un math o degan a thuedd ynddo i ddychrynu a chyffroi plentyn; dilladai ei phlentyn yn rhydd, gofalai na chai dim ei wasgu nac atal gweithrediad rhwydd ei gorff a'i aelodau, a digonedd o awyr bur ddydd a nos, haf a gauaf, yr un modd. Am y tair blynedd cyntaf, ei phrif ofal oedd am ei gorff a'i ddadblygiad priodol. Cynyddodd ei chyntafanedig, a daeth yn fachgen cryf ac iach ei wedd, bywiog ei holl ysgogiadau, a rhoddid pob rhyddid iddo arfer ei aelodau yn ddirwystr idd eu dadblygu a'u dwyn allan yn hoenus. Pan y sylwid fod ei ymadferthoedd meddyliol yn dechreu gweithredu rhoddid iddo bob cymorth ar yr aelwyd, ac mae y fam yn ymegnio i gyfarfod â'r dasg o roddi cyfeiriad priodol, a gosod ei bachgen ar ben y ffordd; ond gofalai hefyd na

orlwythai ei feddwl egwan, rhag ei lethu a'i niweidio pan yn dyner a gwanllyd. Gofalai am iddo gael digonedd o le i chwareu, neidio a champio, hyd eithaf ei ewyllys, fel pob anifail ieuanc; a'i dymuniad penaf oedd am i'w feddwl, y dyn, gael yr un rhyddid naturiol i ddadblygu a chynyddu.

Gwyliai y fam gyda'r gofal mwyaf am i'r argraffiadau cyntaf hyn beidio llychwino ei ddynoliaeth dyner, a rhoddi iddo achos i gwyno a gofidio wedi iddo heneiddio, ei fod yn meddianu camweddau ei ieuenctid. O! rieni, dyma gyfnod ar ein plant sydd a'i ganlyniadau yn annhraethol bwysig. Mae esiamplau a gweithredoedd yr aelwyd y cyfnod tyner hwn yn cael dyfnder daear yn eu meddwl; egina a thyfa trwy bob math o hadau a roddir yno ar ol hyn. Esiamplau y rhieni sydd yn cael sylw blaenaf plant, ac y mae plant yn fedrus eu gwala i gyferbynu a chydmaru ein hesiamplau a'n gwersi iddynt, a deallant eu cysondeb neu eu hanghysondeb cyn y medrant dori un gair. Dywedodd offeiriad Pabaidd sylwgar: "Rhoddwch i mi blentyn am y tair blynedd cyntaf, a waeth genyf fi pwy a'i caiff wedi hyny." Ar yr aelwyd y rhoddir plentyn ar ben y ffordd, ac nis gellir cael desgrifiad mwy cywir o'r canlyniadau o

hyny nag a geir yn y gyfrol ddwyfol—"Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy a hi." Dyna y ffordd sydd a'i phen ar gareg yr aelwyd, ar yr hon mae rhieni yn cychwyn eu plant, ar yr hon y'u gwelir pan wedi heneiddio yn hen wr a hen wraig, pryd y bydd y dwylaw a'u cynaliodd i roddi y cam cyntaf arni wedi eu malurio yn mhriddellau y dyffryn!

Dyna y rheol, ac nid oes iddi ond pur ychydig o eithriadau idd eu cael ar ddalenau hanesyddiaeth, ac y mae yr eithriadau hyny i'w gweled yn yr oedran o 15 i 25 oed; ond pan heneiddiant, un o fil na welir hwynt wedi dyfod i'r ffordd eu rhoddwyd arni ar yr hen aelwyd. Adwaenwn wr pan yn fachgen yn yr ardal lle ein magwyd yn Nghymru, a gafodd fagwraeth ofalus gan fam dduwiol iawn, ond pan tua 15 oed gadawodd yr eglwys, a throes yn fachgen lled benrhydd, a hyny er gofid mawr i'w hen fam, yr hon a welodd ganoedd o weithiau yn gwlychu ei haelwyd a'i dagrau mewn ymdrech gyda Duw ar ran ei phlant oeddynt wedi colli eu tad. Pan oedd y gwr hwn wedi dyfod yn hen wr uwchlaw trigain oed, gwelwyd ef un adeg gan wr ieuanc, yn cyfeirio ei gamrau, trwy gryn anhawsder, wrth ei ffon, rnyngddo a'r hen dy lle ei mag-

wyd, oedd weithian yn wag a dadfeiliedig er's llawer o flynyddoedd. Aeth i mewn i'r hen fwthyn ac i'r hen simdda fawr, a phlygodd yno ar ei ddeulin ar gareg yr hen aelwyd lle y gwelodd ei fam mor fynych; a dyna lle y bu am gryn amser mewn agwedd addolgar. Pan heneiddiodd dacw ef wedi dyfod ato ei hun, ac ar y ffordd y rhoddwyd ef arni gan ei fam ar yr aelwyd! Yr ydym wedi ymdroi yn faith, ni a addefwn, gyda'r plentyn, ond gwnaethom hyny, am y credwn taw dyma y cyfnod pwysicaf ar oes dyn, pan y mae ef ar yr aelwyd gyda ei rieni yn derbyn gwersi a lyn wrtho am amser a thragwyddoldeb, yn eu canlyniadau, ac yn y benod ddylynol cawn weled Dafydd Morgan yn wr ieuanc yn troi allan i'r ysgol i Gaernarfon.

## PENNOD IV.

DAFYDD MORGAN A GAENOR LEWIS YN YR YSGOL—GORCHFYGU TFMTASIWN—ENILL FFAFR YR ATHRAW.

---

IWR ieuanc a gafodd y fath fagwraeth a dygiad i fyny ar aelwyd rhieni mor rinweddol ac ymdrechgar i addysgu eu plant, nid oedd ei addysgiaeth pellach ond gorchwyl cydmarol hawdd. Yr oedd drysau ystafelloedd ei feddwl wedi eu dad-gloi a'u cil-agor ar yr aelwyd, fel nad oedd gan ei athrawon rhagllaw ond ei arwain iddynt a'i gyfarwyddo pa fodd i'w dodrefnu yn briodol ar gyfer gyrfa ei fywyd. Nid oedd tueddiadau ei feddwl a'i chwaeth at lyfrau a'u darllen, yn rhyw neillduol o awchus. Yr oedd ei dad a'i fam wedi dethol iddo lyfrgell fach lled gryno, gyda llawer o ofal, yn cyfateb i'w oedran tyner, yn y ddwy iaith a ddeallai yn lled drwyadl—Cymraeg a Saesneg. Sylwid gan ei rieni mai y llyfrau hyny oeddynt wedi eu hysgrifenu ar amaethyddiaeth a meithriniad anifeiliaid oeddynt benaf at ei chwaeth ef, a threuliai lawer o'i amser yn yr ardd, ac ar hyd y meusydd. Hoffid Dafydd Morgan, Trefnus-

faes, gan ei gyfoedion fel bachgen tawel, siriol a chymdeithasgar. Nid oedd o duedd siaradus pan gyda'i gyfoedion, ond yr oedd yn chwareuwr campus, a dangosai ef ei degwch yn eu holl ymrysonau chwareus, a chadwai chwareu teg i'r gwan, a dangosai i'r anfedrus pa fodd i chwareu. Byddai yn chwerthin dros y cae pan ddygwyddai tro trwstan a digrif gyda'r gamp. Sylwodd un o'r cymydogion wrth dad Dafydd, pan oedd y ddau yn ymgomio a'u gilydd am y tir a'r anifeiliaid, a gwahanol bethau perthynol i amaethu, "Gomer, mae eich bachgen Dafydd wedi fy synu fi am ei wybodaeth yn nghylch gwahanol bethau perthynol i amaethu. Yr oedd o yn siarad am wahanol hadau a gwrtaith, a'r priddyn goreu at wahanol gnydau, nes fy synu. Mi neith Dafydd ffermwr heb ei fath o, achos dyna ei holl ddyleit o."

Yr oedd gan Gomer Morgan a'i briod bedwar o blant erbyn hyn, a Dafydd yn ddeuddeg oed, ac yn hoff o'i ddwy chwaer, Ellen ac Ann, a'i frawd Llewelyn bach; ac nid oedd dim yn ormod ganddo ei wneuthur iddynt. Yr oedd ganddynt dy haf yn yr ardd, a byddai y plant yn chware llawer yma. Byddai wrth ei fodd yn hel teganau i'w chwiorydd i wneyd ty bach, a'u helpu ei wneyd, ac yn aml deuai Gaenor Lewis,

geneth eu cymydog agosaf, at ei chwiorydd i chwareu. Yr oedd Mrs. Morgan wedi prynu llawer o deganau i'r plant. Nid äi hi byth i'r dref na ddeuai a rhywbeth i'r plant at chwareu ag ef. Prynodd lestri llaeth bychain, o'r fuddai i lawr i'r gwpan denau. Gwnaed ty llaeth bach yn yr ardd, ac yr oedd y genethod yn cadw eu llestri llaeth mor drefnus ag y byddent yn gweled eu mam yn gwneyd yn nhy llaeth y teulu, yr hwn oedd ddiarebol am ei drefnusrwydd. Gwyddai y rhieni doeth hyn, fod ar blant eisieu chwareu fel pob creadur ieuanc, a gwelid y tad a'r fam yn aml yn cyd-chwareu eu goreu gyda'r plant. Dylynent natur yn hyn; ac nid oedd hyny yn un diraddiad arnynt, yn ngolwg y plant, ond i'r gwrthwyneb. Dyna drefn natur yn mysg holl greaduriaid y maes ac ehediaid y nefoedd, a physg y dyfroedd. Chwery y llew rhuadwy gyda'i genawon; a phwy na sylwodd, gyda boddhad, ar y ddafad a'r oen bach a'i grychneidiadau chwareus? Chwery yr eryr â'i chywion, gan eu haddysgu i arfer eu hadenydd yn chwareus; a gwelir y pysgod yn ymwibio trwy eu gilydd yn chwimwth a chwareus yn y dyfroedd. Mae chwareu i blentyn, fel y nodwyd yn barod, mor angenrheidiol er ei gynaliaeth ag yw ymborthi. Gadawer i blant chwareu, a chymeller hwynt, os

bydd angen, ar bob cyfrif; a hyny a wneid yn galonog yn Trefnusfaes.

Pan yn ddeuddeg mlwydd oed anfonwyd Dafydd i'r ysgol i Gaernarfon, ac anfonodd Caradog Lewis, y cymydog, ei eneth hynaf, Gaenor, i'r ysgol ar yr un adeg. Byddai y ddau yn cydfyned a dychwelyd gyda'u gilydd. Cymerent eu ciniaw gyda hwynt, am fod ganddynt ddwy filldir a haner o ffordd i'r dref. Yr oedd gan y ddau fasged fechan, a screpan, y naill i gymeryd eu ciniaw, a'r llall eu llyfrau, a phan gyfarfyddent ar y groeslon yn y boreu, cymerai Dafydd fasged ac ysgrepan Gaenor yn ei law, a chariai hwynt iddi i'r dref bob cam; ar ben isaf heol y Llyn yr oedd y ddau yn gwahanu, am nad oeddynt yn myned i'r un ysgol, a chyfarfyddent yn yr un man ar ol i'r ysgol derfynu y prydnawn. Yr oedd Dafydd yn y Graded School, lle nad oedd dim ond bechgyn dan addysg; a Gaenor mewn ysgol a gedwid gan ddwy chwaer, i ferched yn unig. Gwisgai Dafydd ddillad o frethyn cartref taclus. Nid oedd yr olwg arno lawn mor drefol a'r gweddill yn yr ysgol, a'r boreu cyntaf hwn iddo ar ei fynediad i'r ystafell edrychid arno gan yr oll oedd i fewn pan aeth yno. Rhoddodd yr athraw ef i eistedd mewn man ar ei ben ei hun, hyd nes iddo ei brofi a'i roddi yn y dosbarth

cymwysaf iddo. Wedi i'r athraw gael prawf boddhaol o alluoedd ei ddysgybl newydd, gofynodd iddo yn mha le y bu ef yn parotoi ei hun yn y gwersi cyn dyfod ato ef; a phan ddeallodd nad oedd wedi bod mewn ysgol ond ysgol aelwyd ei dad a'i fam, rhyfeddai ato eto yn fwy, ac er syndod i'r holl ysgol rhoddwyd ef yn yr ail ddosbarth i gychwyn! Meddyliai rhai o'r bechgyn iddo gael myned i'r dosbarth hwnw am ei fod yn fachgen i Gomer Morgan; ond dywedai eraill mai Ymneillduwr oedd ei dad, ac na fyddai byth yn tywyllu yr Eglwys oddigerth i gynhebrwng; i'r capel y byddai teulu Trefnusfaes yn myned i gyd. Dywedodd un o'r bechgyn yn y dosbarth uchaf fod yr hogyn hwnw yn ysgolor da, ac mai dyna y rheswm iddo gael ei roddi yn yr ail ddosbarth, a dim arall; ac y gwyddai ef hyny yn burion; ond y gwyddai hefyd fod ffafrau yn cael eu dangos i rai oedd yn myned i'r Eglwys ar y Sul. "Cawn weled yr hogyn yna," meddai, "yn y dosbarth yma yn bur fuan, er mai i'r capel y bydd yn myned. A chwareu teg i Mr. Ellis," dyna oedd enw yr athraw, "mae yn ymddwyn yn lled ddiduedd, er bod yr ysgol yn perthyn i Eglwys y plwyf, a'r person yn dyfod yma yn amlach na neb arall i'w gweled. A dyma dri yn ein dosbarth ni yn myned i'r capel

bob Sul. Yr wyf fi yn meddwl fod ein hathraw, er yn Eglwyswr, yn ceisio bod mor deg hefo ni ag y gall, gan roddi pob un yn y lle cymwysaf iddo. Mi wn i fod mam yr hogyn yna wedi bod yn yr ysgolion goreu, a'i bod hi yn addysgu y plant cystal ag un athraw; ac mae ei dad yn ysgolhaig da."

Daeth Dafydd Morgan yn fuan yn ffefryn yr ysgol. Deallodd yr athraw ei fod yn sylwedydd manwl o natur—gwnai luniau o wahanol greaduriaid, fel heb geisio, ar ei lechan; yn wir, gwnai bobpeth a wnai heb ddangos dim math o ymdrech; yr oedd pobpeth fel yn naturiol iddo. Ond yr oedd yn amlwg ei fod yn feddyliwr dyfal. Un dydd yn yr ysgol, yn yr haf, tua diwedd ei dymor cyntaf ynddi, yr oedd yn eistedd yn ei le ac ar ei gyfer yr oedd ffenestr yn agored, a llwyth o wair yn myned heibio. Cododd Dafydd ar ei draed yn ei sedd, fel heb yn wybod iddo ei hun, ac edrychai ar y llwyth gwair, gan ei arogli yn foddhaus, a throes at yr un oedd wrth ei ochr, a dywedodd: "O, mae arogl da ar y llwyth gwair gwyndŵn yna," a chymerai ei anadl i gael llon'd ei ysgyfaint o'r arogl a'i boddhai mor fawr. Sylwid arno gan yr holl ysgol, ac yr oedd yno rai yn deall y gyfrinach; felly yr athraw. Gwelid ein harwr ieuanc yn aml amser

seibiant yn myned rhagddo a'r "Clwt Mawn," lle yn y dref a elwid felly, am mai yno yr oedd lle marchnad mawn a thyweirch, gwair, grug, rhedyn. Daeth i'r ysgol un tro fynyd neu ddau yn ddiweddar o un o'r ymweliadau hyn amser seibiant, a galwyd arno at yr athraw i roddi cyfrif am ei ddiweddarwch. Dywedodd y gwir bob gair, a dim ond y gwir. Gwelai yr athraw craffus fod deddfau meddwl ei ddysgybl uwchlaw ei ysgol ef, a dywedodd wrtho am fyned i'w eisteddle.

Wedi iddo eistedd sylwodd ei gyd-ysgolor fod ganddo rywbeth yn ei logell, a gofynodd iddo beth oedd ganddo. Dywedodd Dafydd mai blodau grug oedd ganddo. Mynai ei gydymaith iddo roddi tipyn o honynt iddo ef, er mwyn iddo eu gollwng i lawr rhwng colar crys a chroen yr hogyn a eisteddai yn y sedd o'u blaen, gael iddynt ei weled ef yn neidio wrth dybio mai morgrug fyddai wedi myned rhwng ei grys a'i gefn. A bu agos i Dafydd gydsynio, canys yr oedd yn llawn o ddifyrwch o'r fath; a bu y demtasiwn yn un gref iddo; ond nid oedd yn foddlawn eu rhoddi iddo at hyny yn yr ysgol er cryfed oedd y demtasiwn i gael tipyn o ddigrifwch diniwed; a bu dda ganddo iddo allu gorchfygu y demtasiwn, am ei fod wedi ei addysgu ar yr ael-

wyd fod gorchfygu un demtasiwn fechan yn rhoddi yni yn y meddwl i orchfygu un fwy; ac o'r ochr arall, fod ildio i demtasiwn yn gwanhau y meddwl i ildio i un arall. Pan ofynodd i Dafydd beth a wnai ef a'r blodau grug hyny, dywedai iddo ddeall mai grug o Parc Bryn Bras oeddynt, a bod y grug yno yn llawer mwy na grug y mynydd, ac felly bod y blodau yn haws eu gweled a'u chwilio.

Pan oedd ef a Gaenor bach, un prydnawn yn myned gartref o'r ysgol, a phan ar y ffordd bost, yn agos i filldir o'r dref, gwelent lonaid y ffordd fawr o ddefaid yn dyfod i'w cyfarfod, yn cael eu hanfon i lawr yr hendref o un o'r ffermydd ar ochr y Wyddfa. Ciliodd y ddau i ochr y ffordd, a safasant yn llonydd i syllu ar y gyr defaid yn myned heibio. Dau ddyn ieuanc oedd yn gyru y defaid, yn gwisgo cotiau o frethyn cochddu, a chlosau penglin o ffustion gwyn, a hosanau cochddu y ddafad, hetiau Jim Crow, a chudynau o wlan o dan linynau eu hetiau, a'u gwynebau yn gochion, ac yn chwys yn dyferyd, a ffyn dan eu dwylaw, a dau gorgi yn eu canlyn. Wedi i'r defaid a'r bugeiliaid fyned heibio, cychwynodd y ddau ddysgybl o'r fan lle y safasant, pryd y gofynodd Gaenor i Dafydd a wyddai ef defaid pwy oeddynt? Dywedodd y gwyddai ef mai defaid

Hafoty Newydd oeddynt; ei fod ef wedi gweled y nod ar eu clustiau, sef bwlch a charai, a strip o dar ar eu gwarau. "Y pethau gwirion," dywedai Gaenor, "maent wedi blino. Welist ti y dyn yn cyfodi un oedd wedi gorwedd ar y ffordd, ac yn ei chario hi? Mae nhw yn llai o lawer na'n defaid ni, onid ydyn' Dafydd?" "Nid ydynt fawr fwy nag wyn ein defaid ni a defaid Sir Fon," dywedodd Dafydd, "ac mae eu gwlan yn arwach, ond mae eu cig yn felusach na chig ein defaid mawr ni. Clywais mam yn dweyd hyny lawer gwaith. Yr oedd fy nhad pan yn cadw dyledswydd boreu ddoe yn darllen penod yn y Beibl, a son am ddefaid ynddi, a dywedodd fod gwlad Canaan, lle yr oedd y Beibl wedi ei ysgrifenu, yn wlad dda iawn i fagu defaid ynddi, a bod llawer o fugeiliaid y wlad wedi eu cyfarwyddo i ysgrifenu llawer o'r Beibl; a dywedodd mai bugeiliaid oedd Abraham, Isaac a Jacob, Moses, Esaiah, a Dafydd brenin Israel, a llawer eraill; a bod llawer iawn o gydmariaethau y Beibl wedi eu cymeryd oddiwrth ddefaid. Dywedodd fy mam fod y 23ain Salm yn dyfod i'w meddwl wrth wrandaw ar fy nhad, ac yr wyt ti a minau yn medru hono, 'Yr Arglwydd yw fy mugail,' &c. Dywedodd fy nhad fod y Salm hono wedi ei chyfansoddi gan Dafydd, oddiar adgofion am yr

amser pan oedd ef yn hogyn at fy maint i yn bugeilio defaid ei dad yn Bethlehem, lle yr oeddynt yn byw; ac mai bugeiliaid oedd allan yn gwylied eu defaid yn y nos gafodd wybod gyntaf am enedigaeth Iesu Grist, ar foreu dydd Nadolig; ac yr oeddwn i yn cofio am y bugeiliaid hyny y soniai fy nhad am danynt wrth weled y ddau fugail yma yrwan hefo y defaid yna." "Dafydd," meddai Gaenor, "mi 'rwyt ti yn medru cofio yn dda; yr wyt ti fel pregethwr, Dafydd." "Wn i ddim wir am hyny, ond byddaf yn leicio defaid yn arw iawn bob amser."

Erbyn hyn, yr oedd y ddau wedi dyfod i'r groeslon lle yr oeddynt yn gwahanu, pob un i'w gartref. Pan oedd Dafydd Morgan yn agoshau at y ty, daeth Pero, y ci, i'w gyfarfod, dan amneidio a'i ben, ac ysgwyd ei gynffon i'w groesawu; ac ar ei fynediad i'r ty daeth y gath a orweddai yn ddioglyd ar yr aelwyd, gan rwbio ei hochr a'i phen yn erbyn ei goes. Hefyd, rhedai ei ddwy chwaer a Llywelyn am y cyntaf ato, a dyna lle y bu yn eu troi o'i amgylch ar y llawr, a chymerodd Llewelyn ar ei gefn, a rhedodd i'r llofft, a llanwyd y ty a chwerthin. Ar hyny daeth eu mam i'r ystafell, gan wenu yn foddhaol wrth weled y plant yn chwareu a'u gilydd—mor falch oeddynt o ddyfodiad eu brawd o'r ysgol,

er na fu ond deg awr oddicartref. Ond cofia di, ddarllenydd, fod deng awr i blentyn cyhyd a deg diwrnod i rai mewn oed. Mae wythnos plentyn yn fis, a'i fis yn flwyddyn, a'i flwyddyn yn oes faith. Ac y mae i'r arweddiad yna ar amser i'r ieuanc ei ddyben penodol; mae argraffiadau y blynyddoedd hirion hyn i blentyn fel yr ymddengys, a'u parhad yn hir iawn. Mae canlyniadau y blynyddoedd hirion cyntaf hyn i barhau yn ddiddiwedd! "Y plentyn yw tad y dyn;" ac O! nad ellid argraffu ar feddwl a chalon y rhai ag mae plant wedi eu rhoddi dan eu gofal, eu rhwymedigaeth tuag atynt, tra fel hyn yn cael eu magu o amgylch eu traed am flynyddoedd ar yr aelwyd.

## PENNOD V.

Y DDAU GYMYDOG GOMER MORGAN A CARADOG LEWIS YN YMDDYDDAN AM AMERICA—YMGOM YR AELWYD.

---

YR oedd y ddau gymydog, Gomer Morgan a Caradoc Lewis, a'u teuluoedd, ar delerau cyfeillgar iawn a'u gilydd bob amser. Ardrethu fferm a derfynai ar dir Gomer Morgan yr oedd Caradoc Lewis, a daethai yno trwy briodi merch yr amaethwr oedd yn byw yno o'i flaen. Yr oedd y fferam wedi bod yn cael ei dal yn nheulu y wraig er's llawer oes. Dyn tawel, ac amaethwr medrus o Leyn oedd Caradog Lewis, ond ar ei oreu yn cadw y ddau ben llinyn wrth eu gilydd. Yr oedd yr ardreth yn lled uchel, a'r driniaeth i'r tir heb fod y peth a ewyllysiai ef; canys pe yn berchen y tir buasai wiw ganddo wneyd gwelliantau arno, ond fel yr oedd, ofnai rhag wedi iddo fyned i'r gost angenrheidiol, y cyfodid ei ardreth, am na roddid dim sicrwydd am hyny. Cydymddyddanai Gomer a Caradog lawer â'u gilydd am helyntion byd a chrefydd. Yr oedd y ddau yn swyddogion yn y plwyf, yn flaenoriaid yn yr un capel; ac ymgyng-

orent lawer am driniaeth y tir a meithriniad anifeiliaid. Yr oedd y ddwy wraig yr un modd yn treulio aml i awr gyda'u gilydd; a'r plant yn gyffelyb. Tri o blant oedd gan Caradog Lewis a'i briod—Dafydd, Gaenor ac Owen. Nid oedd y tad wedi cael dim manteision addysg, felly yr oedd ei feddwl yn lled anniwylliedig; ond yr oedd yn ddyn o synwyr cyffredin cryf, a gwnai hyny i fyny i raddau helaeth am ei ddiffyg dysg a diwylliant meddyliol. Pan ddeuai rhywbeth dan ei sylw nad oedd yn gwybod dim am dano, gwyddai ef pa bryd i fod yn ddystaw; a gwybodaeth werthfawr iawn oedd hon, ac ydyw i bob dyn. Pan glywir un yn ceisio siarad am unrhyw beth na wyr ddim am dano, mae ef yn debyg i un yn ceisio cerdded mewn tomen.

Un adeg, pan oedd y ddau gymydog yn ymgomio a'u gilydd am helyntion gwledydd a gwahanol ddygwyddiadau, dywedodd Caradog Lewis iddo ef ddarllen cryn lawer o'r "Gwladgarwr" a'r "Drysorfa" yn ddiweddar, er mai darllenwr lled garpiog oedd. Yr oedd wedi synu llawer at gymaint oedd o son am America a'i llywodraeth; a dywedai y rhyfeddai yn anghyffredin ei bod wedi dyfod yn fath wlad mewn can lleied o amser er pan enillodd ei hannibyniaeth oddiar Brydain yn amser George III.

Darllenodd fod yno dir amaethyddol rhagorol mewn hinsoddau iachus i'w gael am o ddau swllt i goron yr erw, yn feddiant tra rhedo dwr, ac nad oedd y trethi yno ar erw yn gymaint a threth yr Eglwys ar eu tiroedd hwy. "Dyma fi," meddai, "yn talu bob blwyddyn o ardreth, bunt yr erw—am fenthyg erw o dir am flwyddyn, pryd y gallwn brynu pedwar neu chwe erw yn feddiant tra rhedai dwr am y swm a dalaf yma am flwyddyn o fenthyg."

"Wel," meddai Gomer Morgan, "gwelaf eich bod wedi 'cael clefyd America,' fel y dywedir. Ni raid i ni yn y wlad hon gwyno llawer; mae ein sefyllfa yma yn un lled dda. Gwlad go dda ydyw Prydain; mae bywyd a meddianau yn bur ddiogel yma, ac y mae ein breintiau yn helaeth a'n cyfleusderau yn fawrion. Clywais am ffermwr o Sir Fon aeth i America i gael tir rhad beth amser yn ol, ac iddo brynu fferam o bedwar can' erw am ychydig uwchlaw haner can punt, ar wastadedd eang ar lan afon fawr a elwir Missssissippi, a phan aeth a llwyth o wenith i'r farchnad, cymerodd iddo wythnos gyfan i fyned a dyfod, fel erbyn iddo gyraedd gartref, y cwbl oedd ganddo o'i lwyth gwenith oedd dau swllt! Glynodd ei drol yn y llaid, a bu orfod iddo gerdded milldiroedd i gael help i ddod allan o'r

gors. Mae llawer o siarad ac ysgrifenu am America, yrwan, ond lled unochrog yn gyffredin y ceir hanesion o'r fath. Dywedir am y rhagoriaethau, ac ni sonir fawr am ddiffygion. Yr ydwyf finau wedi darllen cryn lawer am y wlad; a chymeryd pobpeth at eu gilydd, nid wyf yn meddwl yr enillwn ni fawr pe yr aem yno; ac mae yr anturiaeth yn fawr. Peth ag y dylid ei ystyried yn bur bwyllog ydyw chwalu cartref, a throi cefn ar ein gwlad; croesi 3,500 o filldiroedd o for terfysglyd, a myned i wlad newydd i ail ddechreu byw—mae hi yn anturiaeth a llawer iawn o ansicrwydd yn nglyn a hi, a dweyd y lleiaf."

"Gwir bob gair a ddywedwch," meddai ei gymydog; "Mae yr anturiaeth yn fawr, ond mae eich sefyllfa chwi a minau yn bur wahanol. Talu rhent yr wyf fi o flwyddyn i flwyddyn, ac er talu a thalu, am fenthyg yr wyf yn talu; a pha sawl gwaith mewn oes un y telir mwy na gwerth y tir lawer gwaith! Er na ddaeth i fy meddwl i eto i chwalu fy nghartref, byddaf yn meddwl weithiau y dylwn wneyd rhywbeth er mwyn y plant yma, nad oes dim yn eu haros ond ardrethu ffermydd. Ni ellir prynu llathen o dir yma am bris yn y byd, fel y gwyddoch, am fod y wlad oll bron yn cael ei meddianu gan nifer

bychan o'u cydmaru a'r trigolion. Byddaf fi yn cael golwg lled ddifrifol ar y wlad yma weithiau, er nad wyf yn gallu darllen fawr. Dyma ei thrigolion yn cynyddu mor gyflym, fel nad ydym yn gallu tyfu digon o gynyrch yrwan i gynal trigolion y wlad; ac fel y clywais, yr ydym yn gorfod prynu llawer o yd o Rwsia a lleoedd eraill, a daw llawer at ein cynaliaeth o'r 'Merica. Byddaf yn meddwl fod y Brenin Mawr, yn ei ragluniaeth ddoeth, wedi darpar gwlad gyfoethog tu draw i'r mor yna, i ni a'n plant yn y wlad hon gael digon o le i wneyd ein bywoliaeth."

"Yr ydwyf finau wedi bod yn sefyll uwchben y mater yna—maint y wlad a'i gallu cynyrchiol, a chynydd cyflym y trigolion," meddai Gomer Morgan; "ac mai da fyddai i lawer symud; ond pan feddyliwyf am symud fy hun, a throi fy nghefn ar wlad fy henafiaid, nid yw yn dygymod â mi, ac felly nid allaf fi gymell neb arall. Yr un ydyw teimladau pawb am hyn, sef ymlyniad wrth gartref a gwlad."

Ar hyn gwelwyd Dafydd a Gaenor yn dyfod o'r ysgol, a deallasant ei bod hi wedi rhedeg yn lled hwyr ar y prydnawn, heb iddynt feddwl; ac ar hyny dyma y ddau blentyn yn rhedeg rhyngddynt a'u tadau, ac ymadawodd y ddau. Ymaflodd Gaenor yn llaw ei thad, a throes Gomer

Morgan at y ty gyda Dafydd. Ar y ffordd, dywedodd Gomer Morgan wrth Dafydd èi fod ef a Caradog Lewis wedi treulio cryn amser y prydnawn hwnw yn ymgomio am America; ac fod ei gymydog wedi troi yn gryn ddarllenwr. "Ti gofi," meddai, "i ni fod yn ymddyddan am America, a darllen am dani y gauaf diweddaf ar yr aelwyd. Ni fyddai yn rhyfedd genyf weled yr hen gymydog yn codi ati a symud o'r wlad, am ei fod wedi ei lyncu i fyny gan ei rhagoriaethau, ac yn cau ei lygaid ar ei diffygion, fel yr ofnaf."

Gwrandawai Dafydd â'i geg ar ei dad yn dweyd am Caradog Lewis, ac aeth y sylw na fyddai yn rhyfedd ganddo ei weled yn symud i America yn ddyfnach na'i glust; ond ni ddywedodd air. Ar yr aelwyd, ar ol swper, ymddyddan y teulu oedd am Caradog Lewis ac America; a gwrandawai y plant ar eu tad a'u mam fel llygod yn gwylied y gath, pryd y rhoes Ellen air i mewn trwy ofyn, "Ai nid yn y 'Merica y maent yn prynu a gwerthu dynion a merched, fel anifeiliaid yn y ffeiriau?" "Ie, dyna y peth mwyaf sydd genyf fi yn erbyn y wlad hono," dywedodd ei mam.

"Yn wir," meddai Gomer Morgan, "ni ddaeth hyny i fy meddwl o gwbl pan yn siarad â Car-

adog Lewis yn y prydnawn, ac ni soniodd yntau air am y peth. Pan gawn ymgom eto, soniaf wrtho am hyn, er nad yw y caethion yno yn cael eu trin yn agos can waethed ag y byddwn ni yma yn clywed son am hyny. Eu prynu a'u cadw i weithio iddynt y maent, fel yr ydym ni yma yn cyflogi gwasanaethyddion i weithio; a phwy erioed a feddyliodd y caffai fwy o waith gan was neu forwyn, ie yn wir gan anifail, trwy ymddwyn yn greulon tuag ato. Na, nid allaf fi gredu yr haner a glywir am greulonderau at y caethion. Ond ni ddylai y fath beth fod yn un man a phrynu a gwerthu dynion fel anifeiliaid ar un cyfrif. Dyn ydyw dyn, boed ei liw y peth a fo; ac mae yn syndod fod gwlad sydd yn ymffrostio cymaint yn ei rhyddid, yn goddef y fath beth o fewn ei therfynau. Ni phery y gyfundraeth yno yn hir chwaith; mae yno deimladau cryfion yn ei herbyn trwy y wlad, ac os cofiaf yn gywir, tua haner y Talaethau sydd â chaethion ynddynt yn awr—chwech ar hugain, onide Dafydd? Wel, mae eu haner yn Dalaethau rhyddion, a deuant felly oll."

"Gwelais yn y llyfr diweddaf a brynasoch i mi," meddai Dafydd, "mai yn y rhanau deheuol o'r wlad y mae y bobl dduon yn gweithio, ar y planigfeydd mawrion, lle maent yn tyfu cot-

wm, am y gall y dynion duon weithio a dal y gwres yn well na dynion gwynion."

"Ie, dyna fel y mae hi," dywedai y tad; "ond gallant eu cyflogi a thalu iddynt am eu llafur, a chaent felly lawer gwell gwasanaeth. Felly y daw hi yno yn bur fuan hefyd."

"O! mam," dywedodd yr eneth ieuengaf, "mae llun dynion duon yn y llyfr coch yna roesoch chi i mi; ac O! ma nhw yn hyll, gyda'u trwynau yn fflat, fel y bydd trwyn Llewelyn pan yn spio trwy y ffenestr a'i drwyn yn pwyso arni."

Erbyn hyn mae awr y ddyledswydd deuluaidd wedi dod, a daeth y ddau was a'r ddwy forwyn i'r ystafell. Darllenodd y penteulu y benod gyntaf yn llyfr Exodus, ac esboniad Peter Williams ar ei hol.

## PENNOD VI.

DAFYDD YN GADAEL YSGOL Y CREF AM YSGOL AR Y FFERM—LLYTTYR O AMERICA—TAITH DAFYDD.

---

MAE Dafydd Morgan wedi gorphen ei dymor yn yr ysgol. Bu yno am dair blynedd, ac felly mae yn awr yn 15 mlwydd oed, ac yn fachgen cryf iachus. Ni wnaeth yr ysgol yn y dref fawr o'i hol ar ei ruddiau gwridog, canys byddai ef yn treulio llawer o'i amser, hwyr a boreu, ar hyd y meusydd, ac yn cerdded tua phum milldir bob dydd i'r dref ac yn ol. Nid oedd Dafydd yn gaethwas i lyfrau, er ei fod yn ddarllenwr manwl. Pan ymaflai mewn llyfr i'w ddarllen, gwnai hyny gyda phenderfyniad idd ei ddeall yn drwyadl, gan wneyd ei gynwys yn eiddo arosol iddo ei hun, fel ag yr oedd ei feddwl wedi ei ystorio yn helaeth â gwybodaeth fuddiol, ac yn arbenig Hanesyddiaeth, Daearyddiaeth a Rhifyddiaeth, ac o'r tair, y flaenaf oedd at ei archwaeth yn benaf. Yr oedd yn hanesydd da, a gellir dweyd am hanesyddiaeth y cymer i'w chol bron yr oll o'r iaethau. Plentyn natur oedd ef, a chymdeithasai lawer iawn â

hi, wyneb yn wyneb, ar hyd y meusydd, ac yn mysg yr anifeiliaid, yn syllu ar eu harferion. Edrychai weithiau am oriau, yn y gwanwyn, gyda'r boddhad mwyaf ar yr wyn bach yn chwareu; a gallesid gweled ei holl gorff yn cordeddu wrth ysbio ar eu crychneidiadau dolenog.

Bu yn rhyfeddu ganwaith, fel y dywedodd, at gnafeidd-dra y famog, yn pori mor ddisylw, a'r oen yn prancio o'i chwmpas, gan neidio yn chwimwth dros ei chefn, ac ymwthio o dani a'i thwlcio a'i dalcen bychan, crychu ei gynffon, a chordeddu ei holl gorff; ond erbyn manylu ar athroniaeth yr ymddygiad didaro hwn o eiddo y fam at ei hoen, credai ein harwr fod chwareuon yr oen yn rhoddi yni i asgwrn gên ei fam, ac yn ei chadw yn fwy diwyd, a'i thrwyn yn y borfa, gan y gwelai fod ei hymborth hi yn rhoddi y fath hoenusrwydd i'r oen; felly y mae rhieni ymdrechgar am hyfforddi eu plant, pan welant arwyddion ymarferol ynddynt fod dylanwad eu haddysg yn tarddu allan yn iachusrwydd moesol hoenus yn eu hymddygiadau—yn eu calonogi.

Yr oedd edrych ar bob creadur yn chwareu yn fforddio llawer o fwynhad i'n harwr. Deffrowyd yr arweddau naturiol hyn yn ei natur ar aelwyd ei gartref gan ei fam, ac yn awr, er mor ieuanc ydyw, gwel werth addysg yr aelwyd yn blaguro,

a daw llawer o'i haddysg i'w feddwl yn ddyddiol pan yn sylwi ar natur yn ei gwahanol arweddau dirifedi. Yr oedd gweled bod eu cyntafanedig yn cymeryd y fath ddyddordeb, ac mor sylwgar, a meddylgar, yn eu helyntion teuluaidd, gan dalu sylw i fân bethau y fferm, yn rhoddi iddynt foddhad mawr; a gwelent yn awr nad aeth eu llafurus gariad wrth addysgu eu bachgen yn ofer, er iddynt brydëru llawer rhag y byddai i'w gwmni yn y dref pan yn yr ysgol ei lygru; ac mor dda oedd ganddynt ei weled wedi ymgadw rhag gadael y ffordd y rhoddwyd ef i gychwyn arni ar eu haelwyd! Ond gwyddent yn dda nad oedd allan o berygl, ac na byddai allan o hono tra ar y ddaear.

Derbyniwyd Dafydd yn gyflawn aelod o'r eglwys, ar ei ddychweliad o'r ysgol; a bu hyny o fawr lawenydd i'w rieni. Mae yn Trefnusfaes deulu lluosog—y gwr a'r wraig a phedwar o blant, pedwar o weision a dwy forwyn—Griffith Evan yr hwsmon, William Humphrey y certynwr, John Owen, yr hwn a wnai dipyn o wahanol orchwylion, a Bob y gwas bach, Lowri a Sionett y ddwy forwyn. Ni byddai teulu Trefnusfaes yn newid eu gwasanaethyddion yn fynych. Telid y cyflog uwchaf gan Mr. Morgan bob tymor, byddai tiriondeb y meistr a'r feistres, yn

nghyd a'u canmoliaethau i'r gwasanaethyddion, yn enyn ffyddlondeb ynddynt, ac ystyrient y gydnabyddiaeth a roddid iddynt, a'u cymeradwyaeth am eu gwasanaeth gystal iddynt a'u cyflogau, a theimlai eu cyflogwyr fod eu cymeradwyo pan yn cyflawni eu dyledswyddau yn ffyddlawn iddynt, mor ddyledus oddiwrthynt iddynt a'u cyflogau mewn arian. O! fel y byddai gair bach o gymeradwyaeth yn eu sirioli; ac yr oedd ymddygiadau y plant at y gwasanaethyddion yn bob peth a ddymunasid. Yn unol ag arfer amaethwyr o'r fath y dyddiau hyny yn y wlad, gosodid dau fwrdd, un i'r teulu, a'r llall i'r gwasanaethyddion, ond yma rhoddid yr un fath ymborth ar y ddau fwrdd. Byddai y gweision yn cael eu cymell i gyfranogi o holl freintiau crefyddol y ty.

Ar ol boreufwyd, agos bob dydd, os yr hin yn caniatau, rhoddai Dafydd dro trwy y fferm, a Llewelyn yn ei law yn fachgen rhwng naw a deg oed, a byddai hyn wrth fodd calon Llewelyn bach. Y lle blaenaf fyddai y fuches a'r cae lloiau, ond byddai y buchod wedi eu godro cyn hyn bob dydd; er hyny yr oedd y fuches yn llawn dyddordeb, am mai gerllaw iddi yr oedd y lloiau, a'u mamau a hwythau yn tynu at eu gilydd yn reddfol. Nid oedd diwedd ar gwestiynau

Llewelyn, yma. Ond y lle mwyaf atdyniadol i Llewelyn o'r oll, oedd y cae lle y cedwid yr ebolion, a Dafydd a alwai ei sylw at rywbeth neillduol yn arferiadau y gwahanol greaduriaid. Tynwyd sylw Llewelyn gan hyd coesau yr ebolion, a dywedodd ei frawd wrtho fod esgyrn coesau a chluniau yr ebolion yn eu hyd ar eu dyfodiad i'r byd, sef asgwrn y goes o'r cymal isaf i ben y glin, a'r asgwrn o ben y glin i'r ysgwydd, fel trwy eu mesur y gellid gwybod uchder yr anifail wedi iddo orphen tyfu i'w gyflawn faintioli. Gofynai Llewelyn iddo ai felly yr oedd lloiau hefyd? "Na, nid wyf yn gwybod fod dim ond ceffylau a'u rhywogaeth felly." Mynai Llewelyn i Dafydd ddal un o'r ebolion, iddo ef gael myned ar ei gefn—"Dal yr ebol melyn, Dafydd," dywedai; "mi af i lawr i'r stabl i nol cyfrwy y ferlan a'r ffrwyn." Ond dywedwyd wrtho nad oeddynt yn ddigon cryfion i hyny eto.

Ddydd arall, aeth y ddau i'r buarth, lle yr oedd y da pluog a'r moch, a phan oeddynt yn agor y llidiart, gwelai Llewelyn y ceiliog coch, mawr, ar y buarth yn troi ei ben ac yn edrych arnynt yn wysg ei ochr. Dywedodd fod y ceiliog hwnw yn camu ei ben yr un fath ag y byddai William Owen ar y plant yn y capel; ond sicrhaodd ei frawd wrtho nad oedd adar ddim yn gallu

gweled yn syth o'u blaenau fel ni—dyna p'am y mae y ceiliog yn camu ei ben fel yna. "Sylwa di, fel yna y bydd yr ieir i gyd yn edrych ar rywbeth o'u blaenau yn union."

Mewn un cwr o'r buarth yr oedd llyn o ddwfr, a phan aeth y ddau at y llyn gwelent y gwyddau a'r hwyaid, &c., yn nofio ar ei wyneb, a phan y daethant i'r lan galwodd Dafydd sylw Llewelyn at yr hwyaid a'r gwyddau yn ymdrwsio a glanhau eu hunain yn ofalus. "Weli di fel y maent yn troi eu penau ac yn rhoddi eu pigau ar fôn eu cynffonau; mae yn y fan yna god yn llawn o rywbeth tebyg i ymenyn, a llanwant eu pigau a'r peth hwnw bob tro, a chwythant ef dros eu cyrff, nes ag y bydd eu pluf yn dysgleirio, a dyna paham na saif dwfr ar eu pluf am eu bod yn seimlyd."

"Dyna beth fydd mam yn cadw 'ymenyn gwyrdd' i'w roddi yn y god yna, ynte Dafydd," dywedodd Llewelyn. Chwarddodd Dafydd dros y buarth am y sylw; a dywedodd fod yr adar yn gwneyd yr 'ymenyn gwyrdd' eu hunain. Mae y Beibl yn cymell y diog i fyned at y morgrug i ddysgu diwydrwydd; a gellir myned at adar i ddysgu glanweithdra a threfn reolaidd at hyny yn ddyddiol. Yn y buarth hwn mae y paunod, y twrcis, y colomenod, a chytiau y moch;

ond nid oedd Llewelyn yn cymeryd llawer o ddyddordeb yn y moch na'r twrcis, ond yn hoffi y paunod oblegid eu pluf, yn neillduol felly eu cynffonau wedi eu hagor mor ysblenydd! Bychan wyddai Llewelyn am werth y moch. Gan nad oedd dim llawer o ddim yn swynol yn y creaduriaid hyn, ni chaent fawr o sylw y bachgen; ond gwyddai Dafydd am eu gwerth a'u defnyddioldeb i'r amaethwr, canys bu gyda'i dad a'r gwas lawer gwaith yn marchnad y moch yn y dref.

Dychwelasant i'r ty, ac aeth Llewelyn at ei fam yn llawn ei feddwl o'r hyn a welodd ac a glywodd ei frawd yn ei ddweyd wrtho; wedi arllwys ei feddwl i'w fam aeth i ymolchi ac ymdrwsio, a chofiai am yr adar wrth ymolchi. Daeth at ei fam i gymeryd ei wersi yn ei lyfrau. Y prydnawn hwnw galwodd eu cymydoges hoff, Cathrin Lewi, Ty'n-y-Mur, i weled Myfanwy Morgan, i gael tipyn o ymgom fel yr arferent yn lled fynych, a chymeryd cwpanaid o de hefo eu gilydd. Dywedai Myfanwy iddi hi gael pwys o de pan ddaeth Dafydd o'r ysgol o Gaernarfon, y te goreu fu yn ei thy erioed—er y byddai hi yn prynu y te goreu allai hi ei gael bob amser, oblegid ni byddai hi yn prynu llawer un amser.

"Anaml," meddai, "y byddaf yn gwneyd te

yma os na ddaw yma ryw ddyeithriaid, neu y cymydogion i alw; nid oes yma neb o'r teulu yn gwybod ei flas ond Gomer a minau; nid wyf yn meddwl y dylid rhoddi te i blant ar un cyfrif. Y modd y cefais i y te yma oedd pan oedd Dafydd yn yr ysgol, yr oedd yno ddyn ieuanc o Lerpwl gydag ef, a'r ddau yn ffryndiau mawr a'u gilydd. Yr oedd tad y bachgen yn masnachu mewn te, ac yn ei dderbyn yn symiau mawrion o'r India; a rhoddodd bwys i Dafydd i'w gyflwyno i mi—dyna y modd y cefas y te, mae yma er pan ddaeth Dafydd o'r ysgol."

"Yn wir, te digon gwael fydda i yn ei gael bob amser, er talu y pris uchaf am dano," meddai Cathrin, "ac yr ydwyf fi a Caradog yn bur hoff o gwpanaid o de, a'r plant acw yn ei leicio yn burion. Byddaf yn gorfod rhoddi pedwar dwsin o wyau am bob haner pwys, a hyny yn fynych iawn."

A dywedai Myfanwy, "Yr ydym yn ddigon ffol ei brynu o gwbl; mae mwy o faeth mewn un wy nag sydd mewn cwpanaid o de o ran hyny."

A phan yn yfed te sylwodd Cathrin Lewis fod y te hwnw yn flasus, a'i liw yn ddymunol i edrych arno, a bod y te fyddai hi yn ei gael yn y dref yn rhoddi lliw llwyd ar y dwfr. "Ac mae Dafydd wedi gorphen ei ysgol yn y dref, onid ydi

o? Mae yn reit dda genyf am hyny, achos cawn ei weled o acw weithiau bellach; mae o wedi bod mor ddyeithr acw er pan aeth i'r ysgol a phe yn byw yn y dre."

"Wel, ydyw, mae y bachgen wedi bod gyda'i wersi yn bur ddyfal, fel nad oedd ganddo amser i fyned i unman, ond pan yr ai i rywle, acw y deuai, ac y mae ef mor hoff o gerdded ar hyd y meusydd, ac yn mysg yr anifeiliaid, fel y gwyddoch chwi am dano, fel nad oes ganddo hamdden i fyned fawr o gwmpas, na dim llawer o duedd at hyny un amser."

"Buasai yn dda ofnatsan genyf finau weled Gaenor wedi gorphen ei hysgol yn Runcorn; ond ni bydd hi yn hir bellach. Ydych chwi am anfon Dafydd i'r College, Myfanwy?"

"Na, nid ydym yn meddwl am hyny; nid oes dim awydd at hyny ynddo o gwbl. Yr ydym wedi bod yn bur ofalus i sylwi ar ei dueddiadau er pan yn blentyn, fel y gallem roddi iddo bob manteision i ddadblygu ei dueddiadau naturiol at lafur ei oes, os ca fyw; ac yr ydym yn bur sicr mai ffermwr a wna Dafydd—dyna ei holl elfen, a rhoddir iddo bob cyfleusdra i ddylyn ei dueddiadau, oblegid mae amaethu yn un o'r galwedigaethau anrhydeddusaf y gall neb ymaflyd ynddi. Credwn fod tueddiadau Llewelyn

i gyfeiriad arall, ond mae ef yn lled ieuanc eto i allu bod yn bendant am dano."

"Byddwn ninau acw yn ceisio sylwi ein goreu beth a wna y plant acw oreu, ac yr ydym yn bur siwr am Gaenor mai ffermio yw ei holl elfen hi; ac yn wir mae hi cystal a minau bob dydd hefo y llaeth a'r ymenyn. Yr oeddwn wedi fy synu ati y Sadwrn diweddaf yn cyfodi yr ymenyn o'r corddwr, a fy helpu ei gyweirio mor fedrus a minau, a hithau ddim ond gartref am dro o'r ysgol. Mae Caradog acw yn swnio llawer o hyd am y 'Merica; dyna sydd acw ar ben pob sgwrs. Cafodd lythyr yn y post neithiwr, oddiwrth hen ffrynd aeth i'r 'Merica o ymyl ei gartref yn Lleyn er ys llawer o flynyddoedd. Fel y gwyddoch, un o Leyn ydyw ef; ac yr oedd y dyn hwnw yn hen gyfaill iddo cyn i ni briodi. Dywedai ei fod o am ddyfod a'r llythyr yma i'w ddangos i Gomer Morgan."

"Bydd yn dda gan Gomer ei weled. Clywais ef yn son beth amser yn ol iddo ef a Caradog gael ymgom felus am America gyda'u gilydd, ac mae Dafydd yma mor hoff o glywed am y wlad a'i dad, os nad yn fwy felly," dywedai Myfanwy.

Edrychodd y gymydoges at y cloc, a gwelai fod y prydnawn wedi rhedeg, a'i bod agos yn

4

amser godro, a chychwynodd ar frys. "Peidiwch a bod yn hir cyn galw; cawsom brydnawn digon buddiol, ac ni fu genym ddim dan ein sylw a thuedd i niweidio neb," sylwodd Myfanwy Morgan.

Yn mhen ychydig ddyddiau daeth Caradog Lewis, a'r llythyr o'r America yn ei frest, a darllenwyd ef; yna gwnaeth Gomer Morgan rai sylwadau arno. "Mae eich hen gyfaill," meddai, "yn rhoddi gwedd addawol iawn ar bob peth yn y wlad; ond da fyddai cofio, fel y dywedodd y wraig hono yn y Bala, pan oedd Mr. Charles yn canmol America wrthi, fel gwlad ddymunol iawn i bobl fyw ynddi. Aeth yr hen wraig at Mr. Charles, a gofynodd iddo. 'Ai darn o'r byd yw 'Merica, Mr. Charles?' 'Ie, siwr,' oedd ei ateb. 'Wel,' meddai yr hen wraig, 'Yn y byd gorthrymder a gewch, medd yr hen Lyfr, onide Mr. Charles bach?' Ni fynwn er dim i chwi feddwl am foment, gymydog, fy mod yn erbyn America fel gwlad dda i fyw ynddi, a bod llawer o fanteision yno na cheir hwynt yn Nghymru. Fy meddwl i yw hyn, y dylid cymeryd llawer o bwyll, ac ystyried pob peth a ellir am y wlad—ei drwg yn ogystal a'i da. Dyna y rhan yna o'r llythyr sydd yn dweyd y gellwch chwi brynu darn o dir yno gymaint a'r plwyf yma ar wastadedd, am y swm

a dalwch yma o ardreth mewn dwy flynedd, yn feddiant rhydd, 'tra rhedo dwr,' a bod gwair gwyllt yn tyfu arno, a dim ond rhoddi y gwydd ynddo ei fod yn barod i dderbyn yr had! I ni, o'r fan hon, mae y peth yn edrych yn lled debyg i ddywedyd gormodedd, a dweyd y lleiaf."

"Dafydd bach," gofynai Caradog, "beth wyt ti yn feddwl o'r llythyr, machgan i? 'Rwyt ti yn darllen llawer o hyd, yn y llyfrau Seisnig yna, am y lle."

"Bum yn darllen am y gwastadeddau y sonir yn y llythyr am danynt. 'Prairies' y maent yn eu galw yno; ac am y gwair gwyllt yna, dywedir ei fod yn tyfu mor uchel mewn manau, fel nad ellir gweled anifail, fel buwch neu geffyl, pan yn pori arno. Mae y gwair yn gwywo a phydru y naill flwyddyn ar ol y llall, ac yn troi yn wrtaith felly i'r tir; ond mae weithiau hefyd yn llosgi am filldiroedd. Mae y priddyn felly yn fras, a hynod o ffrwythlawn."

"Gymydog anwyl," dywedodd Caradog Lewis, "beth yr awn i son am galch, nac un math o wrtaith ar dir fel yna?" A dywedai hyn gyda thipyn bach o fost hefyd.

"Gallwn feddwl fod yno le da i gadw buches a chyfodi anifeiliaid ar dir fel yna," sylwodd Mr. Morgan.

"Wel, deulu bach, nos dawch heno; mae yn rhwyr i mi fyn'd at y teulu, cawn amser eto," a ffwrdd ag ef. Ar ol iddo droi ei gefn dywedodd Mr. Morgan wrth y teulu: "Gewch chwi weled mai i America yr ä ein cymydog cyn hir iawn. Bore dranoeth daeth Caradog Lewis i Trefnusfaes, a dywedodd fod arno awydd anfon llythyr at ei gyfaill i'w holi yn fanylach. "Wel, ie," dywedai gwr y ty, "goreu po fwyaf ellir wybod am y wlad. A beth pe y gofynech iddo am y gaethfasnach yno, ac a fyddai yn angenrheidiol i ddyn brynu caethion yno i weithio ei fferam."

"Wir, ddaru mi ddim meddwl am hyny; ai tybed mai dynion duon sydd yn gweithio pobpeth yno?" gofynai Caradog Lewis.

"Gofynwch i'ch cyfaill roddi i chwi hanes dipyn yn fanwl am y wlad; nid ydym ni yma yn gwybod fawr iawn am dani. Mae trafnidiaeth rhwng y ddwy wlad mor annyben, a'r fordaith mor bell, fel y cymer tua chwech wythnos i long fyn'd oddiyma i'r prif borthladd yno—New York; a thipyn gydag ugain mlynedd sydd er pan oedd rhyfel gwyllt rhwng y wlad hon â hi, yr hyn barhaodd am rai blynyddoedd. Os cofiaf yn gywir, bu hyn yn 1812. Mae'n rhaid nad allant fod mewn sefyllfa arianol a masnachol â fawr o lewyrch arni, oblegid nid oes eto fawr

uwchlaw oes dyn er pan oeddynt yn ymladd yno am wyth mlynedd am eu hannibyniaeth oddiar Brydain. Clywais fy nhad yn son llawer am yr amser terfysglyd a blin hwnw; ac y mae yn ddigon posibl fod yno deimladau dolurus eto yn aros atom ni yma—er i Mr. Adams, y llysgenad cyntaf a ddaeth oddiyno yma, gael derbyniad caredig gan ein llywodraeth yn Llundain, serch ei fod yn un o'r rhai blaenaf yn y gwrthryfel yn erbyn y wlad hon, a'i fod yn un a fu yn cynllunio ac yn tynu allan ffurf eu hannibyniaeth. Ni byddai yn rhyfedd, os llwydda y llywodraeth yno, weled y dydd y datganwyd eu hannibyniaeth yn cael ei gadw yno yn ddydd gwyl, er cadw mewn cof, o genedlaeth i genedlaeth, am eu hannibyniaeth, fel y cedwir y Nadolig. Wrth gwrs, tybiaeth ydyw peth o'r fath. Da y cofiaf glywed fy nhad yn adrodd am yr areithio tanllyd yn y Parliament, ar yr adeg hono. Dywedodd un yno wrth areithio yn erbyn i'r wlad gael ei hannibyniaeth, ar ol i'r newydd ddyfod i Lundain, am yr hyn wnaed yn Philadelphia ar y 4ydd o Orphenaf, 1777, y byddai y penboethiaid hyny yn dymuno eto i'r dydd hwnw fod fel dydd genedigaeth Job—'Bydded y dydd hwnw yn dywyllwch, a Duw oddiuchod heb ei ystyried; ac na thywyned

llewyrch arno. Tywyllwch a chysgod marwolaeth a'i halogo, ac arosed cwmwl arno.' Ond mae llawer 'o debygolrwydd mai fel arall y try pethau allan; ac os yw y Brenin Mawr, yn ei ragluniaeth ddoeth, o blaid llwyddiant America, waeth pa lywodraeth fo yn ei herbyn, hi a lwydda. Yr wyf fi yn hoffi ymddygiadau doeth a dynol eu blaenor yno ar yr adeg—George Washington; yr oedd ef yn Gristion, ac yn cymeryd achos ei wlad mewn gweddiau taerion at Dduw; ac yr wyf fi bron a meddwl na fuasai dyrnaid o bobl heb wybod fawr am ryfel byth yn gorchfygu llynges a byddinoedd Prydain oni buasai fod Duw o'u plaid—'Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu.' "

Edmygid a pherchid Dafydd Morgan gan ieuanc a hen trwy yr holl ardaloedd, a hyny yn fwy o lawer ar ol ei ddychweliad o'r ysgol, a'i weled heb ddim o'r mursendod ffol a gwrthun a welwyd wedi meddianu rhai a anfonwyd i'r ysgol. Er na bu ein harwr yn mhell o'i gartref yn yr ysgol, yr oedd yn ysgol uchel, a llawer o foneddwyr y wlad yn ei chefnogi, ac yn anfon eu meibion iddi. Gwisgai ddillad o wneuthuriad cartref, o wlan defaid ei dad, a byddai golwg drefnus arno bob amser. Yr oedd wedi ei eni yn foneddwr; anaml y gallesid gweled mwy o wir fonedd-

igeiddrwydd cynhenid a naturiol yn neb nag a welid yn holl ymddygiadau ein harwr. Fel y mae yr anweledig mewn mwy nag un ystyr yn adlewyrchu trwy y gweledig, felly yn aml mae y dyn oddiallan yn amlygu ac adlewyrchu y dyn oddimewn. Nid canlyniad astudiaeth a dygiad uchel i fyny yn nghylchoedd uwchaf cymdeithas, lle y gwneir moesgarwch yn bwnc o efrydiaeth, oedd boneddigeiddrwydd Dafydd; yr oedd lawer yn brydferthach na hwnw a osodir ar un, am ei fod yn fwy naturiol a gwirioneddol.

Dywedodd un o'r hen gymeriadau tafodrydd yn yr ardal am Dafydd, ar ei fynediad i'r Graded School, i Gaernarfon, y deuai allan oddiyno can stiffiad a phrocer; ac y byddai ei fochau cochion wedi myned can llwyted a phe yn bwyta gwellt ei wely. Yn lled fuan ar ol i Dafydd orphen ei ysgol, yr oedd yn cerdded ar y ffordd fawr dipyn oddiwrth y ty, pan y cyfarfuwyd ef gan yr hen gymeriad uchod—Modryb Mal, fel y gelwid hi gan bawb, a chyfarchodd Dafydd hi yn ei ddull naturiol ei hun—"Wel, 'Modryb Mal,' sut yr ydych chwi; welais i mo honoch chwi er ys talm; yr ydych yn dal yn lled sionc o hyd?" Safodd yr hen wreigan, gan sadio ei hun hefo ei ffon, a chyfodi cantel ei het o'i llygaid, a chraffu arno; canys nid oedd wedi ei weled er's

amser maith, ac yr oedd ei lais yntau wedi cyfnewid; ond pan y deallodd hi pwy oedd, dywedodd: "Dafydd bach anwyl, ychdi sydd yna dwad? Ia, yn te; ma yn dda gini dy welad machgan i, yr un fath yn union a chyn iti fyn'd i'r dre i'r hen ysgol yna. Bendith ar dy ben di, machan anwyl i. 'Ron i wedi ofni am danat ti weldi, er cystal mam sydd gent ti. Sut mae dy fam, Daydd bach?" Atebodd yntau, "Mae mam yn bur iach, diolch i chwi, 'Modryb Mal;' ac yr ydych chwithau yn dal i edrych yn lled dda." Ac aeth i'w logell, a rhoddodd swllt yn llaw yr hen wreigan, gan ddweyd y cai ef ei gweled yn amlach bellach. Gofynodd iddo sut yr oedd Gaenor Lewis yn dod yn mlaen hefo ei hysgol; na welodd hi yr hogen er's na wyddai pa bryd; ond mai hi oedd yr hogen ffeindia yn y plwyf, a'r plwyf agosaf ato fo hefyd. "Yn yr ysgol y mae hi eto," dywedodd Dafydd. "Bendith ar ei phen hi; byddai yn dda geni ei gwelad hi," ychwanegai yr hen wreigan; ac aeth Dafydd yn ei flaen, canys gwyddai nad gwiw dysgwyl cael y gair diweddaf.

Cyn dechreu o hono ymaflyd gyda'i dad yn nyledswyddau y fferam, cymellwyd ef gan ei deulu i gymeryd taith trwy y wlad yn hamddenol gyda'i ferlyn a'i gig, â'r hyn y cydsyniodd, am

y gwyddai y cawsai felly fantais i weled a sylwi ar wahanol ddulliau o amaethu, a meithriniaeth anifeiliaid. Aeth trwy ranau amaethyddol siroedd y Gogledd, a dychwelodd wedi ei foddhau yn fawr. Ar ol tipyn o orphwys gartref, cychwynodd eilwaith, ac aeth trwy lawer o siroedd Deheudir Cymru, ac ar y daith hon cafodd y cyfleusdra i fyned i Sasiwn yn y Deheudir, pryd y gwrandawodd gewri y pwlpud Methodistaidd—y Parchedigion Ebenezer Morris, Harries, a'r ddau Richards, John Evans, New Inn, a John Elias o Fon. Clywsai Mr. Elias gartref, ac ofnai braidd am ei lwyddiant yn mysg y fath lu o enwogion; ond wedi ei roddi i bregethu yn ffrynt y Sasiwn fawr, John Elias oedd ef yn mhob man! Gwnaeth y pregethau nerthol a wrandawodd yn y Sasiwn hon argraff ddofn ar ei feddwl y gweddill o'i oes.

Dylynodd yn mlaen ar y daith hon, ac aeth i Loegr; a bu yn Llundain am chwech wythnos yn edrych ar ryfeddodau prif ddinas ei wlad, a phrif ddinas y byd ar amryw ystyriaethau. Cafodd gyfleusdra i fyned i'r Parliament i wrandaw ar y prif weinidog Syr Robert Peel yn traddodi un o'i areithiau tanllyd o blaid Masnach Rydd i Loegr; a chyfarfu ag amryw o wyr enwog yno o Gymru, megys Syr Hugh Owen a Griffith Daf-

ydd, y rhifyddwr enwog, am yr hwn y soniai yn fynych ar ol ei ddychweliad gartref, ac am yr hwn y dywedodd Robert Hughes, Uwchlaw'r Ffynon—

"Griffith Dafydd trwy ddiwydrwydd,
A'i ymroddiad llwyr ei hun,
Ddaeth yn mlaen o'r dosbarth gweithiol,
I roi prawf fod ynddo ddyn—
Dyn a fedrodd ddringo'n dawel
O gloddfa ddofn y cilgwyn serth
I urdd-gader prif ddysgawdwr,
Pwys a mesur, rhif a gwerth,"

Yn Llundain hefyd gwelodd Cadben Jones o Gaernarfon, wedi dyfod a llwyth ei long o lechi tai o Gaernarfon, ac yn barod i hwylio yn ei ol. Perswadiodd y Cadben Dafydd Morgan i hwylio gydag ef, am y gwelai fwy o leoedd nag allasai weled wrth ddychwelyd ar hyd y brif ffordd, ac am y caffai brofiad o deithio ar y mor. Gwelai yntau y gallai ef fanteisio ar y fath hynt forawl, a gwerthodd ei ferlan a'i gig yn y ddinas, gan dderbyn y gwahoddiad. Cafwyd mordaith ddigon cysurus; a thrwy fod y cadben yn galw yn Lerpwl, ac yn aros yno am amryw ddyddiau, cafodd ein harwr amser i weled llawer o'r ddinas helaeth ei masnach, a'r porthladd helaethaf ei drafnidiaeth yn y byd. Yr oedd wedi anfon llythyr o Lundain i hysbysu ei rieni am ei for-

daith gyda Cadben Jones, ac anfonodd un arall pan y daeth yn ddiogel i Lerpwl, fel yr oedd ei deulu yn ei ddysgwyl. Daeth gair oddiwrth Mrs. Jones o'r dref fod y llong ar yr afon, ac y dysgwylid hi i'r porthladd y dydd hwnw, felly aeth ei dad a'i fam i lawr i'r dref, a chafwyd cyfarfod llawen yn nhy y Cadben. Holai Mrs. Morgan y cadben sut forwr oedd Dafydd. Gwelai ei fod wedi cael ychydig o liw llongwr ar ei wyneb a'i ddwylaw. "Cystal morwr a minau" oedd atebiad parod y cadben dan chwerthin yn galonog.

Yr oedd dysgwyliadau ei chwiorydd a Llewelyn wedi rhedeg yn uchel, am eu gweled yn dyfod i fyny yn y cerbyd; a rhedent i'r drws, un bob yn ail o hyd y prydnawn hwnw. Toc, dyna Llewelyn yn gwaeddi, "Dacw nhw;" a rhedodd rhyngddo a'r groeslon i'w cyfarfod. Pan ddaeth y cerbyd a'r tri ynddo yn agos, neidiodd Dafydd i lawr, a rhedodd i gyfarfod ei frawd, ymaflodd ynddo, a chyfododd ef yn ei freichiau i'r cerbyd, gan gerdded ei hun rhyngddo a'r ty. Gwelwyd ef gan ei ddwy chwaer, a Gaenor Lewis, yr hon ddygwyddodd alw yno y prydnawn hwnw, ac aeth y tair i'w gyfarfod. Wedi cyfarch eu gilydd yn foesgar, gofynodd Dafydd i Gaenor am iechyd y teulu gartref. Yr oedd tipyn bach

mwy o wrid yn ei gwyneb ar y pryd nag arfer. "O! Dafydd," dywedai Ann, "mae dy wyneb di yn felyn fel caws." "Lliw y mor a gefais i, Ann; bum yn llongwr am dair wythnos; ydych chwi ddim yn arogli tar?" gofynai dan chwerthin. Yr oedd Pero y ci, yn y cwmni yn llawn ei ffwdan yn troi o'i gwmpas, gan ysgwyd ei gynffon a nyddu ei holl gorff, a'i swyro, a haner tisian bob yn ail, fel pe yn ameus o'i synwyr cynenid am ei ffrynd. Gofynwyd i Gaenor Lewis aros gyda'r teulu i gymeryd swper, a hi a gydsyniodd. Pan ddaeth y gweision i'r ty aeth Dafydd i'r gegin, a chyfarchodd hwynt oll yn siriol, a rhoddodd anrheg fechan i bob un o honynt o Lundain. Ar ol swper aeth ef a'i chwiorydd i anfon Gaenor at y ty, ond rhag ei myned yn rhy hwyr troisant yn ol heb fyned i'r ty, gan ddweyd wrth Gaenor y deuai ef yno dranoeth i ymdroi tipyn. Pan y daeth ef a'i chwiorydd i'r ty cyfododd yr hen gath oedd wedi bod yn cysgu ar y mat trwy y prydnawn, ac aeth at Dafydd, gan rwbio ochr ei phen yn erbyn ei goes, ond ciliodd dipyn, a chyfododd ei phen i edrych, fel pe wedi gwneyd camgymeriad. Gwelai Dafydd Morgan fod y gath wedi deall am ei fordaith a'i absenoldeb am bedwar mis!

## PENNOD VII.

ANRHEG I DAFYDD GAN EI DDOSBARTH—LLYTHYR ARALL O'R AMERICA.

---

PENDERFYNODD dosbarth Dafydd Morgan, yn yr Ysgol Sul, ei anrhegu â Beibl ar ei ddychweliad o'i ymweliad diweddar a Deheudir Cymru a Lloegr. Bechgyn ieuainc oedd ei ddosbarth, at ei oed ef, sef o 18 i 20 oed. Yr oeddynt yn wyth mewn nifer, ac aethant gyda'u gilydd ar brydnawn Sadwrn i Trefnusfaes, i ddangos eu bod fel dosbarth yn gallu gwerthfawrogi athraw teilwng, gwir lafurus, a llwyr ymroddol; diwylliedig ei feddwl, eang ei syniadau a hollol ryddfrydig ei ysbryd. Er ei fod yn Fethodist o'r Methodistiaid, nid oedd dim o'r culni sectol ynddo ef, fel a nodweddai lawer yn y cyfnod dadleugar hwnw am athrawiaethau duwinyddol yn y wlad. Yr oedd ein harwr can rydded ei syniadau a'r awyr a anadlai. Ei amcan ef oedd cael allan wirionedd. Am wirionedd y dyheuai ei galon fawr ef, fel ag y gallasai arwain ei ddosbarth i afael a'r gwirionedd mawr sydd yn cynwys pob gwirionedd—"ddyfod Iesu

Grist i'r byd i gadw pechaduriaid." Dyna oedd uchelgais penaf ei fywyd ef—bod yn athraw defnyddiol yn yr Ysgol Sabbothol; a hyn a fu ar hyd ei oes, fel nad oes ond dydd y farn ddiweddaf a ddengys y daioni dystaw a wnaed ganddo i'w Waredwr y cafodd y fraint o'i gyflwyno iddo ar ei ddyfodiad i'r byd, ac y cyflwynodd ei hun iddo yn foreu, dan gyfarwyddyd ac addysg ei rieni ar yr aelwyd. Ie, o barch calon tuag at ei ddosbarth rhoddaf eu henwau oll yn yr hanes hwn am Dafydd Morgan: Dafydd ac Owen Lewis, Ty'n y Mur; Robert Williams, Ddol Fawr; William Roberts, Pandy Mawr; Howell Ellis, Pen yr Allt; Meredith Edwards, Ty'n y Rhedyn; Griffith Evans, Garddu Fawr; Solomon Thomas, Pen y Bont.

Prydnawn Sadwrn hyfryd yn niwedd mis Mai oedd hi pan aeth y dosbarth yno, wedi ymdrwsio yn drefnus yn eu dillad Sabbothol. Llafurwyr oedd yr wyth—rhai yn amaethu, ac eraill gyda'r gwahanol ddiwydianau yn y plwyf. Wedi eu dyfod at Trefnusfaes, cyfarfuwyd y dosbarth yn nrws y ffrynt gan yr athraw, yr hwn oedd wedi cael ei hysbysu am eu dyfodiad; ac arweiniodd hwynt i'r parlwr, lle yr oedd ei dad a'i fam, a'i ddwy chwaer, a'i frawd, yn nghyd a Gaenor Lewis, yr hon oedd yno ar wahoddiad pendant

oddiwrth Ellen ac Ann. Ar ol ychydig ymddyddan cyffredinol yn yr ystafell, cyfododd Dafydd Lewis ar ei draed, ac er yn bur wylaidd, dywedodd beth oedd eu hamcan. Yna rhoddodd ei law ar gist fechan, wedi ei gwneyd o bren derw gan un o'r dosbarth, yn hynod o gelfydd, yn ddeuddeg modfedd o hyd, wyth o led, a phedair o drwch, ac wedi ei rhoddi wrth ei gilydd yn gywrain, heb un hoelen. Cysylltwyd yr astellod a'u gilydd trwy eu bylchio a naddu tafodau ar ffurf cynffon colomen i ffitio y bylchau, fel ag yr oeddynt yn cydio yn eu gilydd yn gymwys. Yr oedd hefyd wedi ei chaboli yn fedrus, nes yr oedd graen naturiol y derw yn ymddangos i'r fantais oreu; ac yr oedd ei gwneuthurwr wedi bod yn ddigon meddylgar i bwrcasu ei defnydd o dderw a dyfodd ar dir Trefnusfaes. Agorodd Dafydd Lewis y gist, yr hon oedd wedi ei gwisgo oddifewn â melfed gwyrdd, ac yn agored felly a'r gist yn ei ddwylaw, camodd rhyngddo a'r athraw, a chyflwynodd y gistyn a'i chynwys, sef Beibl wedi ei rwymo yn brydferth gyda lledr Morocco a dau foglwm arian yn ei gau. Ymdrechai Dafydd Lewis ei oreu i ddweyd yr hyn oedd wedi ei barotoi fel anerchiad erbyn y cyflwyniad, ond yr oll a allodd ddweyd oedd yn debyg i hyn:

"Yr ydym ni, eich dosbarth yn yr Ysgol Sul, yn dymuno arnoch dderbyn y rhodd fechan hon oddiwrthym, fel cydnabyddiaeth fechan o'ch gwasanaeth a'ch ff-y-dd-lon-deb m-a-wr." Pan welai lygaid ei athraw yn llanw o ddwfr, nid allodd ychwanegu, ac eisteddodd wedi ei lwyr orchfygu, ac eisteddodd yr oll ond Dafydd Morgan; safai ef yn syn a'i law ar yr anrheg oedd o'i flaen ar fwrdd bychan, a cheisiodd anerch ei ddosbarth, yn debyg i hyn: "Fy nghyfeillion anwyl, mae eich presenoldeb yma, a'ch dull llednais a dirodres, yn nghyd a'r anrheg werthfawr hon i mi am fy ngwasanaeth anmherffaith gyda chwi yn yr Ysgol Sabbothol, wedi fy ngorchfygu yn llwyr. Daeth y geiriau hyny i fy meddwl pan welais eich anrheg—'Afalau aur mewn gwaith ariau cerfiedig.' Diolch yn fawr i bob un o honoch." Camodd at bob un, ac ysgydwodd law â hwynt yn garedig, a chyn eistedd dywedodd, trwy gryn ymdrech: "Mae yr ymddygiad hwn o'ch eiddo tuag ataf wedi rhoddi rhwymau newydd am fy ymysgaroedd tuag atoch chwi fel dosbarth yn neillduol, a'r Ysgol Sabbothol yn gyffredinol."

Cyfododd tad Dafydd, a gwelid yn amlwg arno yntau fod ei galon wedi ei chyffwrdd. Glynai ei dafod yn ei enau; yr oedd ei anadl yn

dew, a'i eiriau yn gwrthod dyfod allan, ond dywedodd: "Yr oeddwn i wedi bwriadu cael ychydig o amser lled ddyddan gyda ein gilydd y prydnawn yma, gyfeillion, ond gwelaf fod ffrwd y teimladau yn rhedeg yn lled ddwys. Wel, y mae llawenydd pur yn tori allan fel hyn yn aml; a phan fydd y galon wedi ei llanw hyd yr ymylon gan lawenydd, dyma yn gyffredin fydd y canlyniad. Nid oes y fath beth a chrechwen yn nglyn a theimladau dyfnaf y galon. Diolchaf finau i chwi am eich amlygiad o'ch ewyllys da, iddo ef fel eich athraw, ac i ninau fel teulu. Ymroddwch eich goreu i chwilio yr Ysgrythyrau sanctaidd, a deall ei wirioneddau dwyfol."

Wedi iddo eistedd, dywedodd Mrs. Morgan o'i chadair yn siriol iawn: "Ellen, gad i ni gael alaw neu ddwy genyt yn y cywair llon. Yr ydwyf fi yn gweled tuedd y cynulliad o'r dechreu, i'r dwys a'r difrifol; gadewch i ni droi dalen, onide yn wir nid allwn fwyta ein swper heno." Canodd (nid chwareuodd—canu y mae pob offeryn yn Gymraeg) Ellen amryw o'r hen alawon Cymreig, ac Ann a Gaenor yn lleisio gyda'r berdoneg, nes oedd y cylla yn barod i'r swper maethlon oedd ar y bwrdd yn eu dysgwyl. Eisteddwyd wrth y bwrdd llawn o ymborth iaçhus amaethwr, heb un math o foethau; ond

gan ei fod yn ddarpariaeth neillduol i'r achlysur, nodwn rai o'r amrywiaethau ar y bwrdd—bara haidd, gwenith a cheirch, llaeth, ymenyn, a chaws; cwpanau prenau a chylchau melyn o amgylch eu hymylon, a llwyau prenau o waith Gomer Morgan; ac yr oedd y cwpanau wedi eu llanw â maidd, yr hwn oedd flasus-fwyd o'r fath a garai yr ymwelwyr, a hyny a wyddai yr hostes yn dda.

Ar ol swper ymwahanwyd; aeth Dafydd a'r genethod i'w hanfon at y ffordd bost, ac aeth ef a'i chwiorydd i fyny gyda Gaenor i Ty'n y Mur, lle buont am awr neu ddwy yn adrodd am y cyfarfod y prydnawn hwnw, a'r anrheg werthfawr. "Oni buasai fod Dafydd ac Owen yma yn gwrando," meddai Dafydd Morgan, "buaswn yn dweyd tipyn am eu nodweddion personol, a'u rhagoriaethau gwahanol yn yr Ysgol Sul, ond ymataliaf, rhag iddynt feddwl fod fy marn yn cael ei gwyro o dan bwysau yr anrheg a roddwyd i mi ganddynt."

Dywedodd Caradog Lewis: "Yr oedda ni yma wedi deall fod rhywbath ar droed gan yr hogia erbyn y doet ti adra o Lundan; a pan glywsant dy fod wedi gwerthu dy ferlan, yr odd rhai o honun nhw eisio prynu merlan a'i rhoi iti yn bresant, ond pan glywodd 'Modryb Mal' son am y

peth, a'u bod yn son am ferlan, dywedodd hi wrthyn' nhw am brynu Beibl clws, y byddai hwnw yn well na dim alla nhw roi. Dyna droes y fantol hefo nhw." Gwenai Dafydd Morgan, a dywedodd: "Yr oedd yr hen Fodryb yn llygad ei lle. Mae yn well genyf am y rhodd hon na phe cawswn holl ferlynod y plwyf yma."

"Mae yn reit dda gin i a phawb arall yma," meddai Caradog Lewis, "dy fod di wedi cael dy blesio cystal; mi wyddwn i fod y peth yn i bodd-ro nhw yn arw, beth a dy blesiai di. Gad i mi gaul deyd wrthyt fy mod i wedi cael llythyr mawr eto oddiwrth fy hen gyfaill o'r 'Merica; ac mi rown i am ddwad acw hefo fo, bore ddydd Llun."

"Bydd yn dda gan fy nhad eich gweled a'ch clywed yn ei ddarllen, a bydd yn dda genyf finau hefyd. Wel, genod, ydych chwi yn barod? Mae hi yn bryd i ni 'deg edrych tuag adref,'" dywedai Dafydd.

"'Tydi hi ddim yn hwyr eto, ond mi wn fod arnoch chi eisio bod yn y ty erbyn naw; brysia yma i ddweyd hanes dy daith wrthom, da Dafydd. Nos dawch i chi," meddai Caradog Lewis.

Yn fuan ar ol ciniaw ddydd Llun aeth Caradog Lewis i lawr at Trefnusfaes, a chlamp o lythyr mawr, gymaint a Hyfforddwr Charles,

wedi ei lapio mewn hancas sidan felen, ac ysmotiau gwynion trwyddi i gyd; a phan yn ei hagor dywedai ei fod wedi meddwl lawer gwaith fel yr oedd wedi bod mor ddwl pan ddaeth a'r llythyr arall yno, yn ei ddarllen o ei hun, a fynta yn ddarllenwr mor glapiog. "Mae arnaf eisio i Dafydd ddarllen hwn bob gair," meddai, "achos mae ynddo fo lawer o eiriau mawr na fedrai mo'u lympio nhw yn fy myw; ac oni basai Gaenor acw, ni chwswn fawr o sens o hono fo." Ac estynodd y llythyr i Dafydd, gan ychwanegu am ei anallu i ddarllen. "Yr own i gimint ag ydw i y mynyd yma, cyn i mi fedru llythyren ar lyfr, achos 'doedd acw ddim Ysgol Sul nes oeddwn ni yn grymffast go fawr; ond daeth Mr. Charles o'r Bala acw, a chyngorai bawb i fyn'd i'r Ysgol Sul, ac felly y dysgais i dipyn. Ond ar ol dwad yma y dysgis i fwya o lawer." Darllenodd Dafydd y llythyr yn fanwl; a dyma gyfran o hono:

*Utica, New York,* Mawrth 8, 18—

"Anwyl Gyfaill! Daeth dy lythyr caredig a ddyddiwyd yna Hydref 1, 18— i law, wedi bod am ddau fis ar ei siwrnai. Da iawn deall am eich iechyd, a'ch bod wedi cael y cynhauaf i ddiddosrwydd yna, er i chi gael tymor gwlyb. Dyma lle yr ydwyf fi o hyd, ac yn enill arian yn bur

dda. Mae yma lawer o fildio, a digon o waith i seiri coed fel fi; ond y drwg yma ydi, fod pob un fedr guro hoelen yn galw ei hun yn saer. Er hyny, mi geiff saer da waith yma a chyflog da. Yr ydw i yn cael coron y dydd; ond am fyn'd i'r West yr ydw i, i diriogaeth fawr Wisconsin, y soniais wrthat am dani o'r blaen; a dyna sydd gan bawb yma yrwan. Mae hwn yn ddarn mawr o dir, 300 milldir o hyd, a 250 o led. Cofia, a thi wyddost fod cymaint a nyna o dir yn fwy o beth ofnadwy na Chymru o ben Caergybi i ben Caerdydd, neu felly ma nhw yn deud ffordd yma. Pan fydd yno ddigon o bobol gwnant hi yn dalaeth fel hon. Mae New York yn debyg i Sir yna, ond yn fwy o beth gynddeiriog; ond wn i fawr am betha fel yna eto.

"Gofyni am y bobl dduon yma. Wel, welais i ddim llawer o honynt er pan yma—ambell un rwbeth yn debyg fel y byddai y Gwyddelod yna. Dawn i wedi dysgu tipyn o Sasnag mi gawn wybod mwy am betha o lawer. Paid a gadal i betha felly dy foddro. Pobol wynion sydd yma yn gweithio yn mhob man. I lawr yn y De mae y caethion yn gweithio, ar y tir lle mae nhw yn tyfu cotwm a phetha felly, achos i bod hi yn rhy boeth i bobol wynion yno. Mae hi yn boeth iawn y ffordd yma yn yr haf. Byddaf yn chwysu

nes y bydd nghrys i yn wlyb doman dail; a phe dawn i yn gweithio lle ma y bobol dduon mi doddwn yn llymad.

"Am y cwestiwn arall, am faint y rhwd y gallat fildio clawdd o amgylch can erw o dir—'does neb yn bildio cloddiau o geryg y ffordd yma; hefo coed y gwnant gau o amgylch eu tir. Ma' nhw yn tori coed tua thair llath o hyd, ac yn eu hollti nhw at faint post drws beudy, a'u rhoi nhw ar eu gilydd 'run fath a carn rhedynau. Welist ti rodswn beth mor fuan y caeant gau mawr yma. Ffens ma nhw yn galw y cloddiau yma. Mae yn y Dalaeth yma lawer o dir da iawn yn y dyffrynoedd rhwng y mynyddoedd. Mae y dyffryn yma lle mae Utica ar ei gwr o, yn ddyffryn mawr—mwy o lawer na Dyffryn Clwyd, a'i enw ydi Dyffryn Mohawk, gydag afon yn rhedeg trwyddo, a camlas ar ei hyd o, ac am ychydig o sylltau gall dyn gael ei gario ar ei hyd. Dyna lle misiodd y Cymry ddaeth i'r wlad yma gyntaf yn ofnadwy, na basa nhw yn prynu tir ar ddyffryn mawr Mohawk yma, a nwtha yn myn'd trwyddo fo, yn lle prynu tiroedd ar y mynyddoedd. Mae llawer o honyn nhw yn gwelad eu gwiriondeb yrwan, ac eisio gwerthu eu tir, a mudo i'r lle y soniais am dano—Ohio a Wisconsin.

"Gwlad go fynyddig ydi New York yma. Deudodd Cymro yma wrtha i fod un mynydd yn uchel ofnadwy, a phan odd o yn deud mi rhois i o ar lawr i mi gofio, 5,344 o droedfeddi. Dawn i wedi dysgu tipyn o Sasneg mi gawn fwy o hanes y wlad yma; ac yr ydwi wrthi fy ngoreu yn treio dysgu, ond mau o yn beth anodd ofnatsan, achos mae nhw yn siarad mor fuan, fel na 'dos dim posib cael pen na chwmffon ar y siarad. Mae caul tipyn bach o ysgol yn llawar iawn o beth. Doro gimint a fedri di o ysgol i'r plant; ma o yn werth pobpeth erbyn dwad i le fel hyn. Mi es i i chwilio am ledar, eda grydd, a myniawed i drwsio fy 'sgidia yma. Dangosodd Cymro y siop i mi lle yr oedd pethau fellu, ac ar ol i mi fyn'd yno mi ddylis na fedrwn i byth i cael nhw. Wudda nhw ddim beth oedd lledar, na chwyr crydd, na dim, wrth i mi ofyn; ond wedi bod yno yn hir mi 'steddis ar fainc ac mi godis fy nhroed, ar ben fy nglin, ac efo mys mi ddangosis ar y waltas, fel taswn i yn gwthio mynawid. Hefyd, mi dynis flewyn o mhen i ddangos am wrychyn, ac mi dynis lwmp o dobaco oudd gini yn fy moced i ddangos am gwr crydd. Yr oedd pawb yn chwerthin am fy mhen, ond y siopwr; ac mi gefis bobpeth fellu. A chyn i mi fyned allan cododd y siopwr ei fys arnai i fyn'd i siam-

ter yn y cefn, ac yn y fan hono roudd dyn yn trwsio sgidiau, ac yr oddo yn gwadnu esgid heb eda grydd i gwnio hi, ond ei osod o hefo hoelion prenia, a gosododd y wadan yn gynt o rhaner nag a gymerai i mi i neud eda yn barod! Peth cas iawn ydi bod fel hyn, mau rywun yr un fath a mudan yn inion,a phan fudd rhai o honunw yn deud rwbath wrthai byddant yn gwaeddi yn uchel yn fy nghlust fel tawni yn misio a chlywad.

"Wel, wir, mae y llythyr wedi myn'd yn hir, a finau heb ddeud hanar y petha, a ma meddwl i yn redeg yn gynt o'r hanar nag y medraf sgrifenu. Gobeithio y medri di ddarllan o, dawni yn trio ei ddarllen o mi wn na fedrwn byth, achos yr ydw wedi bod am wsnos bob nos tan un a dau y bora yn ei 'sgfenu o, a chymai fwy o lawer i mi i ddarllen o, a fydd dim haws i titha ddarllan o dawn i yn i ddarllan o hanar dwsin o weithia, ac rwy ti yn well sglaig na mi hefyd. Yr ydw i yn gobeithio yn arw y doi yma yn fuan i brynu ffarm a'i chael hi yn feddiant tra rhedo dwr, ond raid bod yn ofalus iawn hefo gneud gweithredodd am ffarm, achos mi brynodd Cymro yma ffarm, ac mi fynodd gael rhoi yn y gweithredodd ei bod hi yn feddiant iddo fo tra rheda dwr arni, achos roedd yno afon bach yn rhedeg trwy y tir, ac yn mhen spel go hir

sychodd yr afon bob dyferyn, a daeth y dyn a'i gwerthodd ato eisio y tir yn ol, am nad odd wedi ei werthu iddo fo ond tra rheda dwr arni, a chollodd ei ffarm, ac ma' nhw yn galw peth fel yna yma yn Ianci tric.

"Hyn yn fler oddiwrth dy hen gymydog. Mi ai a fo at Gymro yma i roi drecsiwn yn iawn beth bynag, achos mae hyny yn fwy o beth na dim iddo ddwad yna. MICHAEL OWEN."

"Wel, Dafydd, dai o'r fan yma yr ydwi wedi caul mwu o'r haner o synwyr yno fo ar ol i ti ddarllan o," dywedai Caradog Lewis. Sylwodd Gomer Morgan ei fod yn llythyr lled dda, a chysidro nad oedd y dyn yn medru llythyren ar lyfr dair blynedd yn ol! "Dylai llythyr fel yna," meddai, "pe dim arall, ein cymell ni yn y plwyf hwn i fynu cael ysgolion i'n plant. Dyna yr ysgol a gedwir gan y bardd Dafydd Thomas (Dafydd Ddu Eryri), nid ydyw yn derbyn haner y gefnogaeth a ddylai yma. Mae'n amlwg trwy y llythyr mai eisieu dy gael di yno sydd ar dy hen gyfaill."

Mi rwn i wedi meddwl mai gwlad wastad fel bwrdd oedd 'Merica; ond mae yno fynyddoedd uchel. Mae gyno fo ryw enw ar y dyffryn hwnw sydd yn fwy na Dyffryn Clwyd. Yr oni yn mis-

io yn glir a'i lympio fo," sylwai Caradog Lewis.

"O," dywedai Dafydd, "Dyffryn Mohawk—enw penaeth Indiaidd oedd yn y dyffryn pan aeth pobl wynion yno i fyw gyntaf. Mae llawer iawn o enwau Indiaidd fel yna trwy y wlad, ac mae eich hen gyfaill wedi bod yn ofalus am sillebu yr enw yn gywir, canys gallodd weled yr enw mewn llyfr yno, ac mae un llythyren mewn gair yn aml yn ei wneyd yn hollol wahanol ei feddwl. Dyna y gar 'canu,' pe rhoddid y llythyren *r* yn lle y llythyren *n*, newidiai ei feddwl yn hollol; a dyna eich fferam chwi, Ty'n y Mur, pe newidid y llythyren olaf i *l* yn lle *r* fel y mae, byddai yn Ty'n y Mul. Deuai hyn i fy meddwl wrth ddarllen y llythyr; ac mae eich cyfaill wedi bod yn ofalus am bob enw i'w gael yn gywir. Maddeuwch i mi am son am beth fel yna, am y daeth i fy meddwl wrth weled fod eich cyfaill wedi gofalu am lythyrenu enwau lleoedd yn gywir bob un."

"Mae pethau fel yna yn tynu sylw un newydd ddod o'r ysgol," dywedai ei dad, dipyn yn ysmala, tan wenu yn siriol. "Modd bynag, amcan y llythyr yw rhoi hanes lled gywir am y wlad a'u dull o fyw yno oreu y gallai."

"Yn wir," meddai Caradog Lewis, "dawn i yn gallu gwerthu y stoc acw a chael prisiau go lew,

mi awn yno bob cam. Mae y wraig acw yn eitha boddlon i fyn'd, er mwyn y plant; mae yno well siawns o lawer i bobl i fyw."

"Wel, pe felly a fyddai, gwnawn i a allwn i chwi gael y prisiau goreu am eich eiddo; ond nid oes arnaf eisieu eich gweled yn ein gadael ar un cyfrif. Yr ydym wedi cydfyw yma yn bur hapus er's 22 mlynedd, ac ni fu gair croes rhyngom o gwbl."

Dyna fel y siaradai y ddau gymydog ar ol darllen y llythyr. Dywedodd Mr. Morgan wrth y bwrdd swper, ei fod ef yn ofni mai i America y mynai eu cymydogon fyned, pryd y dywedodd Dafydd ei fod ef wedi darllen llyfr oedd gan un oedd yn yr ysgol gydag ef am America, a'i fod ef yn gweled fod ffurflywodraeth y wlad yn rhagorol o fanteisiol os llwyddid i'w chario yn mlaen yno fel yr oedd wedi ei sefydlu. "Maent," meddai, "yn ethol eu prif swyddog—yr Arlywydd bob pedair blynedd, a hyny trwy ddewisiad y bobl, fel yr ydym ni yma yn dewis trwy etholiad ein cynrychiolwyr; ac mae yr un un weithiau yn cael ei ethol am ddau dymor yn olynol, fel y cafodd yr Arlywydd cyntaf, George Washington. Pe buasai yn ewyllysio, cawsai ef ei ethol y drydedd waith, neu ei wneyd yn frenin yno, ond ni fynai y gwr da hwnw hyny, ac ymneill-

duodd am y gweddill o'i oes i amaethu ei fferam yn Virginia. Byddai yn beth lled ryfedd pe gwelid brenin Prydain yn diosg ei goron a dyfod oddiar ei orsedd, a gadael y palas breninol yn Llundain, a myned i amaethu, oni fyddai? Felly y gwnaeth George Washington; ac felly y gwnaeth pob un arall ar ei ol ef; ac mae yn lled debyg mai felly y gwneir yno, er nad oes un reol yn nghyfansoddiad y wlad yn erbyn i un gael ei ethol bob pedair blynedd am ei oes. Mae y wlad yn un grefyddol iawn, a rhyddid i bob enwad yno fel eu gilydd. Nid oes yno un eglwys yn cael ei chynal gan y wladwriaeth, fel Eglwys y plwyf yn Nghymru."

Dywedodd ei dad nad oedd llawer o lyfrau i'w cael o'r America, pan oedd ei fam ac yntau yn ieuanc ac yn yr ysgol. "Yr ydwyf," meddai Mrs. Morgan, "yn cofio yn dda, pan oeddwn yn Runcorn yn y Boarding School, i mi gael benthyg llyfr gan ferch ieuanc o Manchester. Enw yr awdwr oedd Washington Irving, a soniai llawer iawn am yr Arlywydd cyntaf, ac os cofiaf yn gywir, George Washington oedd y cadfridog yno am wyth mlynedd pan oeddynt yn ymladd yno am eu hannibyniaeth. A dywedodd Ellen, mai gwlad nobl i ferched oedd America. "Gad i ni fyned yno, Ellen, dywedai Ann." Troes

Llewelyn at ei fam yn sydyn, a dywedodd fod Begi y Fasged yn dweyd fod yn 'Merica afalau da; ei bod hi wedi prynu cawellaid o afalau 'Merica yn y dref, a'u bod yn afalau campus.

## PENNOD VIII.

### TEIMLADAU DRYLLIOG TEULU CARADOG LEWIS.

YR wythnos ganlynol i Caradog Lewis dderbyn y llythyr a ddarllenwyd, daeth hen gydymaith iddo o Leyn, un o'i hen gymdeithion pan yn fachgen, i dalu ymweliad ag ef, ac yr oedd yntau wedi derbyn llythyr o'r America oddiwrth gyfaill aethai dros y Werydd o'r ardal hono; a dywedai yn ei lythyr ei fod wedi prynu fferam o 200 erw o dir yn Sir Lewis, yn Nhalaeth New York. Aeth y ddau i gydmaru eu llythyrau, ac wrth eu cydmaru gwelent fod Howell Jones y Gilfach—dyna oedd enw y cyfaill anfonodd ato, a Michal Owen, yn gwybod am eu gilydd yn dda yn America, a'r ddau yn son am diroedd rhad yn Wisconsin. A dywedai Howell Jones ei fod wedi clywed fod y Sir lle y prynodd fferam wedi cael ei henw oddiwrth Gymro o'r enw Lewis, a bod dyn yn Utica wedi dweyd wrtho cyn iddo brynu ei fferam, mai Cymro o Sir Gaernarfon oedd y dyn, a'i fod ef o'r farn mai mab Tan 'Rallt yn Lleyn oedd y dyn, am y clywsai ef lawer gwaith son am un o feibion

Tan yr Allt wedi myned ar led, na wyddai neb i ba le.

Pan glywodd Caradog Lewis hyn neidiodd yn sydyn ar ei draed, a dywedodd, "Dyna f'ewyrth Robert gan saffed a dy fod di yn y fan yna. Pan aeth o o'r wlad yma yr oedd o yn llongwr, ac aeth i'r mor y tro diweddaf y clywodd neb son am dano o Pwllheli i Lerpwl. Yr oedd o yn 22 oed yr amser hwnw. Mi a glywais fy nhad yn dweyd lawer gwaith ei fod o yn ddeg oed pan aeth fy ewyrth i ffwrdd, a'i fod yn hŷn na fy nhad o ddeuddeg mlynedd, a dasa nhad yn fyw yrwan, basa yn 62; felly os ydi f'ewyrth yn fyw yrwan mae o yn 74. Gallai ei fod yn ddigon hawdd, achos mae teulu fy nhad yn byw yn hen i gyd; ond fy nhad, mi syrthiodd o ben tas wair a fuo fo byth yn iach wedy'n." Galwodd ar y wraig a dywedodd. "Cathrin, wyddos ti beth; mae f'ewyrth yn 'Merica, a sir fel Sir Gaernarfon ar i enw fo yno, a hwyrach 'i fod o yn wr bynheddig mawr yno; hwyrach fod rhagluniaeth fawr y nef yn dyfod a phethau o gwmpas, ac y cawn dir lawer yno ganddo am ddim."

"Wel, Caradog bach," meddai Cathrin, "pe buasai yn meddwl rhywbeth am ei deulu, buasai wedi anfon rhywbeth atynt cyn hyn!"

"Wn i yn wir am hyny; 'doedd o fawr o

sgrifenwr mwy na minau. Byddai yn son llawer am fyned at y sowldiwrs, bob amser, pan yn hogyn. Mi glywis fy nhad yn son ganwaith am dano; ac yr oedd rhyfel gwyllt yn 'Merica tua'r amser yr aeth ef hefo Cadben Huws i Lerpwl, a byddai y Cadben yn dweyd bob amser mai wedi listio yr oedd f'ewyrth."

Dywedodd Gaenor: "Os aeth eich ewyrth i'r rhyfel hono, mae ef yn siwr o fod wedi cael ei ladd; lladdwyd llawer iawn o filwyr yn hono."

"Guto, ar y fan, gad i ni bicio i lawr at Trefnusfaes, gael i Gomer Morgan a Dafydd weled dy lythyr; ac mi darllenith Dafydd o fel person," meddai Caradog Lewis wrth ei gyfaill; canys dyna fel y galwai ef ei gyfaill. Ar ol ciniaw aeth y ddau, a phan oeddynt dipyn oddiwrth y ty, gwelant Gomer Morgan a Dafydd yn sefyll wrth y llidiart o flaen y ty. Wedi dod atynt dywedodd Caradog Lewis yr hanes am lythyr ei gyfaill o'r 'Merica, &c., a'i fod o a Michal Owen yn lled agos i'w gilydd. A thynodd ei gyfaill y llythyr o logell ei gesail, yr hwn oedd wedi ei lapio mewn papyr llwyd, a rhoddodd ef i Caradog, a gofynodd Caradog i Dafydd ei ddarllen. Dywedodd Gomer Morgan: "Gadewch i ni fyned i fyny i'r cysgod at y gareg farch acw, mae yr hen dderwen fawr yn bur gysgodol, a'r haul

yn lled boeth. Aeth y pedwar, a darllenodd Dafydd y llythyr yn uchel; ac wedi iddo orphen sylwodd ei dad fod braidd yn rhyfedd fel y mae y naill beth yn arwain i'r llall. "Hwyrach," meddai, "fod eich hen ewyrth yn fyw, ac yn glyd arno yn ei hen ddyddiau. 74 ddywedasoch, onide; gallai hyny fod yn hawdd."

"Os nad aeth o i'r rhyfel, a chael ei ladd," dywedodd Caradog Lewis. Dywedodd Dafydd ei fod ef wedi bod yn darllen am y rhyfel yn America, a'i fod yn cofio fel yr oedd yr hanes yn dweyd fod yr Americaniaid yn dlodion iawn ar derfyn y rhyfel, ac nad oeddynt yn gallu talu i'r milwyr; ond iddynt roddi tir i lawer i dalu iddynt am eu gwasanaeth; i rai o'r swyddogion gael darnau mawr o dir gwyllt. "Bu Washington, eu blaenor trwy y rhyfel am wyth mlynedd, heb dderbyn ceiniog o'i gyflog, a hwyrach os oedd ewyrth Caradog Lewis wedi myned i'r fyddin Americanaidd, ei fod ef wedi cael tir felly, a hwnw erbyn hyn wedi dyfod yn werth arian mawr. Mae yno diroedd wedi eu henwi ar enwau llawer a fu a llaw ganddynt yn y rhyfel hwnw. Yr oedd yno un cadfridog o'r enw Steuben, ac y mae yno Sir o'r enw yno; ac un arall a elwir Sir Jefferson ar ol awdwr cyhoeddiad eu hannibyniaeth, fel y soniwyd yn barod.

6

Efe oedd y trydydd Arlywydd yno; ac etholwyd yntau am ddau dymor o bedair blynedd. Dywedir mai Cymry o gymydogaeth y Wyddfa yma oedd ei henafiaid."

"Dyn cato i; tybed i f'ewyrth ymladd yno yn erbyn sowldiwrs y brenin, Dafydd bach?" gofynodd Caradog Lewis.

"O, nid oedd hyny yn rhyfedd yn y byd," meddai Dafydd, "oblegid pobl o'r wlad yma oedd y rhan fwyaf oedd wedi cyfodi gwrthryfel yn erbyn George III. Dyna Washington ei hun, a'r Lees a Patrick Henry, oll o'r wlad yma, sef eu henafiaid; a dyna y Puritaniaid bron oll yn rhai o'r wlad yma.. Byddai hyny yn cael ei daflu i'w gwynebau yn aml yr amser hwnw, gan areithwyr y wlad hon."

Erbyn hyn yr oedd Mrs. Morgan a'r ddwy ferch, a Llewelyn, a Gaenor Lewis, wedi rhedeg i lawr ar ryw neges i'w mam; a dyna ddywedodd Mrs. Morgan iddi hi ddarllen am ferched Boston, Mass., ac eraill yn y dref hono, iddynt daflu llwyth llong o de i'r mor, a chytuno a'u gilydd na phrynent ddim nwyddau a anfonid yno o Brydain.

"O do," dywedai Dafydd, "gwnaed llawer o bethau felly yr adeg hono."

"Wel! dyna beth ydyw rhyfel yn mhob gwlad,

a gwyn ei fyd na welid yr amser na ddysgid rhyfel mwyach—y delo yr amser dedwydd hwnw pan droir y cleddyfau yn bladuriau, a'r gwaewffyn yn sychau, ac y byddo arfau rhyfel wedi eu troi yn arfau amaethu," dywedodd Gomer Morgan.

Erbyn hyn yr oedd yr haul yn lluchio ei belydrau ar osgo o dan gangenau y dderwen gysgodfawr, ac ar ei yrfa gawraidd dros y Werydd, i wlad y gorllewin, lle y bu y cwmni yn treulio rhai oriau yn son am dani; a'r wlad oedd wedi enill calon Caradog Lewis. Ar ol llawer o ddyfalu ac ymgyngori, â'i deulu a'i gymydogion, ac yn arbenig felly â Gomer Morgan, ei gymydog agosaf, a'i gyngorwr doethaf ar bob achlysur, daeth Caradog Lewis i'r penderfyniad o werthu ei stoc ac ymfudo i America. Yr oedd dau deulu cyfrifol o'i hen ardal enedigol wedi penderfynu, ac yn parotoi eu hunain i adael eu gwlad am dir y gorllewin. Un o honynt oedd y cyfaill a ddaeth i'w weled a'r llythyr ganddo y soniwyd am dano yn flaenorol. Bwriadent gychwyn yn y gwanwyn canlynol o'r flwyddyn 1836; ac fel y dygwyddodd, dyna y flwyddyn y ffurfiwyd tiriogaeth fawr Wisconsin yn diriogaeth; ond wyddent hwy ddim am hyny ar yr adeg.

Rhoddwyd hysbysiadau allan fod stoc Ty'n y

Mur ar werth, a nodwyd y dyddiau y cymerai y gwerthiant cyhoeddus le. Wedi gweled ei bod hi wedi dyfod at hyn, dywedodd Gomer Morgan wrth ei gymydog yr edrychai ef am iddo gael pris uwchaf y farchnad am ei holl eiddo; a chyn y caffai dim fyned o dan bris, y prynai ef y cwbl, ac y talai iddo y pris uwchaf am yr oll. Bu hyny yn galondid mawr i'r teulu oll; a dywedodd Caradog tan wylo: "Dyna beth ydyw cymydog ag asgwrn cefn a chalon gyno fo." Ar ddydd olaf yr arwerthiant, pan oedd yr arwerthydd yn dechreu enwi dodrefn y ty y naill ar ol y llall, a'u rhoddi ar werth i'r uwchaf ei gynyg, a'u taraw a'i forthwyl, a chymeryd yr enwau gan ei ysgrifenydd, a phan y daeth at y cloc, dywedodd: "Dyma y cloc goreu yn Sir Gaernarfon; gwnaed ef at archiad Mr. Madoc, tad Mrs. Lewis, pan briododd, ac mae ei gâs o'r derw Cymreig goreu. Mae ei gloch o cystal ei thinc a chloch y llan bob tipyn; a chen swnded a chloch y Bala bob dydd."

Ar hyny torodd Cathrin Lewis allan i wylo; a phan welodd Gaenor ei mam wedi ymollwng i wylo, nid allodd hithau ymatal, a thorodd yr argae yn ei chalon, a chriodd dros y ty, fel y tynwyd sylw amryw gan y cynwrf. Pan ddeallodd Caradog a'r ddau fab, Dafydd ac Owen, aeth y

tri i'r parlwr lle yr oedd y ddwy, a Mrs. Morgan, yn nghyd ag amryw o wragedd eraill, a cheisiai Mrs. Morgan ei goreu ddyddanu y ddwy, er bod ei chalon hithau yn bur llawn. Aeth Caradog atynt, a pherswadiai ei briod ei oreu i ymdawelu, gan ddweyd y stopiai ef y gwerthiant os ewyllysiai hi hyny!

"O na, ni fynaf fi y fath beth, Caradog bach," meddai hithau; "ond mae gweled yr hen ddodrefn yma yn cael eu gwerthu yn dyfod a phobpeth i fy meddwl. Yma y gwelais i nhw erioed. Y peth cyntaf a gofiaf ydyw, pan oeddwn yn blentyn ar yr aelwyd, clywed y cloc yn taro; a bum yn gwrando ar ei diciadau lawer gwaith drymder y nos. Pan oedd fy mam yn sal, byddai yn gwmpeini garw i mi, a bu felly lawer gwaith pan yn effro y nos hefo y plant, byddai ei glywed ef yn taro yn adnewyddu fy natur."

Beichiai Gaenor grio dros y ty; ac yn wir nid oedd lygad sych yn yr ystafell; a cherddai Caradog yn ol a blaen yn bur aflonydd, a'r ddau fab bron wedi eu gorchfygu, pan y daeth Dafydd Morgan i'r parlwr yn lled welw ei wedd, gan fyned trwy yr ystafell yn araf, ac at y drws. Wedi sefyll yno am eiliad aeth allan; ac i lawr rhyngddo a'r ysgubor. Gwelwyd ef yn myned i mewn, a bu yno am gryn haner awr. Pan

ddychwelodd i'r ty, aeth i'r gegin; a phwy oedd yno yn eistedd yn un swbach bach wrth y pentan ond yr hen "Fodryb Mal;" a dim ond hi a'r forwyn a'r gwas bach, ar ôl crio mawr ar y forwyn.

Meddai yr hen wraig pan welodd Dafydd: "Dyma hi wedi myn'd yn draed moch glan yma Dafydd bach. Mi wyddwn i ar y goreu, na fedrai Cathrin Lewis byth edrach ar hen ddodran ei thad a'i mam, a'i thaid a'i nain, lawer o honyn nhw, yn caul eu gwerthu fel hyn dan y morthwyl; a fasa wath gini wel'd eu claddu nhw na'u gwelad yn myned i 'Merica. Mau clywad Gaenor yn crio yn hollti fy nghalon i'n ddau ddarn."

Dywedodd Dafydd y gallasai pethau fod yn waeth o lawer. "Beth pe buasai raid i Caradog Lewis werthu, a'r beiliaid yma yn cymeryd gafael yn mhob peth, fel y gwelir hyny yn aml yn y wlad?"

"Duw a'n helpo ni yn yr hen fyd yma. Mae rhywbeth yn ein hysgwyd ni yno fo o hyd. Fyddai fawr yno fo eto; a fasa yn eitha gini daswn i wedi ei adal cyn gwelad aelwyd Ty'n y Mur yn cael ei chwalu. Mae yr aelwyd yma wedi ei chysegru er ys oesau gan blant yr Arglwydd; a phob un fuo yn byw yma wedi troi allan i'r

byd yn fendith iddo, lle bynag yr aethant; ond wbod pwy ddaw yma bellach," ychwanegai yr hen wreigan druan; a chladdodd ei gwyneb rhinclyd yn ei barclod, a chriodd ei goreu. Aeth Dafydd allan, a dywedodd "Modryb Mal:" "Druan o Dafydd; mae o yn ceisio ei oreu peidio a dangos. Ma'i lygada fo cyn goched a chrib ceiliog; ac yr oudd lwmp yn i frest o nes oudd o yn misio siarad dest. Duw a'i helpo fo; mi dorith i galon os ä'n nhw a Gaenor; mae o yn un mor ddwys."

Erbyn hyn mae y gwerthiant drosodd, a'r bobl wedi ymwasgaru, a'r teulu wedi tawelu yn bur dda. Yn unol a'r telerau, nid oedd dim i'w symud o'i le hyd nes y byddai y teulu yn gadael y ty. Bu Gomer Morgan cystal a'i air. Yr oedd yn gwylied pob peth a werthwyd trwy y tri diwrnod, fel y cafwyd prisiau da am yr holl eiddo. Buwyd yn brysur yn parotoi. Bu y teilwriaid a'r gwniadesau wrthi yn ddiwyd trwy y dyddiau, a rhanau helaeth o nosweithiau, yn gwneyd dau bar o ddillad i bob un o'r teulu, o frethyn cartref; dau bar o esgidiau, a dau bar o glocsiau. Llanwyd dwsin o gistiau yn llawn rhwng y dillad a'r bwydydd. Daeth y newydd o Gaernarfon fod y llong ar y bar, ac y byddai yn gadael y cei coed yn mhen naw diwrnod;

am i'r teithwyr fod yn barod, ac y gallent ddyfod ar y bwrdd ddiwrnod yn flaenorol, os ewyllysient i barotoi eu lleoedd. Aeth y gair ar led yn gyflym, ac fel y dywedodd Modryb Mal, pan y dywedwyd wrthi: "Soniwch am y drwg, mae o yn eich ymyl." "'Roni yn meddwl y mynyd yma am y peth, ac yn gobeithio na ddauthai y llong. Yn mhell y bo hi."

Yr oedd yr eglwys yn y capel wedi anfon am y Parch. Dafydd Elias, a hen flaenor o'r dref i ddod i gadw seiat cyn i deulu Ty'n y Mur ymadael; a daeth y ddau, a chafwyd seiat neillduol pan yn ymddyddan a'r teulu, y naill ar ol y llall. Gofynwyd i Caradog Lewis yn olaf ddweyd tipyn wrthynt am y tro diweddaf iddynt ei gael gyda hwynt yn y seiat. Cyfododd ar ei draed ac ymaflodd a'i ddwylaw yn ymyl y set fawr, a'i wyneb yn wlyb gan ddagrau, a dywedodd yn debyg i hyn:

"Frodyr a chwiorydd bach; 'does drefn yn y byd arnaf fi yma heno; ac y mae arnaf arswyd ceisio dweyd fy mhrofiad yma, am yr ofnaf geisio aberthu â than diarth. Mae fy nheimladau yn bur ddrylliog; ond nid dim byd crefyddol sydd wedi eu dryllio, ond meddwl yr ydwi o hyd am y daith, a'r mor, a'r teulu, a hiraeth am

danoch, a phob peth ar draws eu gilydd yn fy meddwl i. 'Rwy'n bur siwr y gallai ddweyd wrthoch chi yma heno fod fy marn a'm mater yn dda rhyngwyf a'm Tad nefol, er ys llawer blwyddyn; ond pethau eraill sydd yn llanw fy meddwl y dyddiau hyn yn hollol. Pan ar fy ngliniau boreu heddyw, ar yr aelwyd acw gyda'r teulu, am y tro diweddaf, credaf i mi gael nerth i ymwthio trwy y dyrfa o feddyliau bydol a chyffwrth ag ymyl gwisg fy Ngwaredwr; a theimlais fy ngwendid yn troi yn nerth i mi; mi gefis gymorth i daflu y cwbwl wrth ei draed ef. Beth bynag ddaw o honof, frodyr bach, yn yr hen fyd yma, ddemnir byth mo honof."

Gwnaeth sylwadau difrifol Caradog Lewis, y tro diweddaf yn yr eglwys y bu yn flaenor defnyddiol ynddi am 15 mlynedd, y fath argraff ar y seiat na welwyd eu cyffelyb; ac yr oedd y ddau wr dyeithr wedi eu llwyr orchfygu. Yr oedd Caradog Lewis wedi byw yn nghydwybod yr ardal, a phob gair a ddywedai yn cael ei anfon i gydwybod ei gydnabod, gan ei fywyd dichlynaidd. Yr oedd ef yn byw ei gyngorion bob dydd; a phe tawsai pawb a son buasai careg ei aelwyd yn llefain ei thystiolaeth iddo ef wneyd ei ddyledswydd tuag at ei deulu arni bob dydd, Sylwyd gan yr hen flaenor ffyddlon o'r dref, yr

hwn oedd yn bur gydnabyddus a theulu Ty'n y Mur, er yr amser maith, fod yr ardal yn ymadawiad y teulu yn cael colled, ond y gwyddai ef y byddai y teulu o fendith i ba le bynag y'u harweinid; ac y byddai eu haelwyd yn feithrinfa i rinwedd a chrefydd fel ag yr oedd wedi bod. Dywedodd Mr. Elias ei fod ef wedi clywed llawer am addysg aelwyd y teulu oedd yn bwriadu ymfudo i America; a bod yn dda ganddo gael sail dda i gredu y byddai i aelwyd y teulu barhau felly wedi myned i wlad newydd a chael cartref ac aelwyd yno. "Mae'n deilwng o'n sylw bob amser," meddai, "fod crefydd wedi gwneyd ei hymddangosiad cyntaf yn ein byd ni ar aelwyd; ac iddi gael ei meithrin am ganrifoedd ar yr aelwyd yn unig. Ar aelwyd Abraham y meithrinwyd y grefydd Iuddewig, trwy yr hon y bendithiwyd holl deuluoedd y ddaear. Dyna ydyw tystiolaeth yr Hollwybodol am aelwyd y patriarch, 'Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn.' Ar aelwyd Joseph a Mair, yn mhentref distadl Nazareth, yn ngwlad Canaan, yr addysgwyd Iachawdwr y byd, dylanwad egwyddorion yr hwn sydd yn lefeinio a chyfnewid cymdeithas; a pharha i wneyd hyn hyd nes ag y

gwelir holl deyrnasoedd y ddaear yn eiddo iddo."

Yr oedd Caradog Lewis yn bur ddrylliog ei deimladau wrth ysgwyd dwylaw a'i frodyr a'i chwiorydd eglwysig; ond daliodd Cathrin Lewis a Gaenor i fyned trwy yr amgylchiad yn llawer gwell na'r dysgwyliadau. Mae hyn yn ffaith am y rhyw deg—pan y daw profedigaeth danllyd, deil dynes fwy na dyn yn y prawf, er y gelwir hi "y llestr gwanaf." Sylwodd rhai fod Gaenor Lewis lawer iawn yn siriolach nag yr oedd neb wedi dychymygu; a dyna ddywedodd Modryb Mal am hyn: "Mi gwrantai am Gaenor ei bod hi yn bur siwr o'i marc; mae hi yn gwybod yn burion sut y mae pethau i ddirwyn."

Pan wawriodd y dydd, yr oedd y llong fawr "Ingdoo" wrth y "Cei Coed," yn hen dref Caernarfon, yn barod i ledu ei hwyliau i'r awelon am wlad machlud haul. Yr oedd cryn nifer o ddyeithriaid i'w gweled ar yr heolydd, yn arbenig felly heol y Llyn a'r Maes, i lawr at yr hen Gastell enwog a hynod ei hanes. Yr oedd clud a chelfi Caradog Lewis—dau lwyth trol fawr Trefnusfaes, o gistiau a llawer o fan sypynau, ac ymborth ddigon i ddiwallu y teulu am ddau fis, at yr hyn a ddarperid iddynt gan y llong. Daeth y teuluoedd o Leyn i'r dref yn

foreu, sef y ddau deulu oeddynt gydnabyddus â Caradog Lewis, ac yn myned gydag ef i America. Aeth y tri teulu ar fwrdd y llong, a llawer o'u cydnabod gyda hwynt. Mae y llongwyr wrthi yn brysur o'r naill ben i'r llall i'r llong gyda y rhaffau a'r hwyliau, &c., y dyeithriaid yn gwau trwy eu gilydd, a goruchwyliwr y llong yn dangos i'r teithwyr eu gwahanol leoedd. Yr oedd yn mysg y teithwyr chwech o ddynion ieuainc, heblaw dau fab Ty'n y Mur—dau o Lanllyfni, un o'r Garn, a dau o Dolwyddelen, ac un o Lanberis, a dwy ferch ieuanc o Lanrug. Rhifai yr oll o'r mordeithwyr 26. Eisteddai Dafydd Morgan a Gaenor Lewis ar fainc yn mhen ol y llong; hi yn gogwyddo ei phen ar ysgwydd Dafydd ychydig, a'i llaw yn ei law, ac a'r llaw arall sychai ei dagrau. Yr oedd hunanfeddiant ein harwr hefyd wedi ei adael. Daeth Mr. a Mrs. Morgan i'r cyfeiriad lle yr oeddynt, a phan eu gwelsant troisant yn ol; ac ar hyny dyna y prif swyddog yn gorchymyn i bawb fyned i'r lan nad oeddynt yn perthyn i'r llong—a dyna ruthr am y lan. Wedi i bob un o'r ymwelwyr gael eu traed ar y cei, rhoddwyd gorchymyn gollwng y rhaffau a ddaliai y llong; mae y llanw yn dod i fewn, a'r hen "Ingdoo" yn dechreu ysgwyd, tra ei hochr yn cael ei gorchuddio gan

y mordeithwyr yn ysbio trwy eu dagrau ar eu cyfeillion ar y lan. Nid oes ond y profiadol am y fath beth a wyr ac a all gydymdeimlo â'r cyfryw, ac mae ei ddesgrifio yn fwy nag a all y profiadol. Mae yr awel yn llanw yr hwyliau gwynion bob un, yn llawn, a'r llanw uchel yn dechreu troi yn ei ol, a chymer yr "Ingdoo" fantais ar y naill ddylanwad ffafriol a'r llall i gychwyn i'w thaith faith, ac ni bu yn hir cyn myned o'r golwg. Pan oedd teulu Trefnusfaes yn eu cerbyd yn myned i fyny heol y Llyn, pwy a welent yn dyfod i'w cyfarfod mewn trol ond Modryb Mal, a hyny yn rhy ddiweddar i weled yr ymadawiad; a phan ddywedwyd wrthi, dyna ddywedodd yr hen wreigan druan: "Daswn i yn medru cerdded, baswn yma o flaen neb o honoch, achos chysgais i ddim hunad neithiwr; sut yr oedd Cathrin a Gaenor druain?" "Modryb," dywedodd Dafydd, gan ddisgyn o'r cerbyd, "dowch yma, mi gerddaf fi, a chan ei helpu o'r drol cododd hi i gerbyd y teulu, a cherddodd gartref.

## PENNOD IX.

**DAFYDD MORGAN YN CHWILOTA AM LYFRAU AR AMERICA—EI DDEWIS YN OLYNYDD I CARADOG LEWIS.**

---

BOREU dranoeth i'r llong hwylio allan, ar doriad y dydd, gwelid ein harwr yn cerdded yn fyfyrgar ar hyd y meusydd, gan daflu ei olygon yn aml tua'r mor a orweddai yn aflonydd yn ei wely—erchwyn tywodlyd yr hwn oedd o fewn ychydig gyda dwy filldir i draed ein harwr. Tynwyd ei sylw gan frefiad dafad yn y cae gerllaw, a throes i edrych, canys deallai ef oddiwrth ei chywair lleddf mai galw yr oedd ar ei hoen oedd wedi prancio yn nwyfus o'i golwg; ac ar hyny gwelai yr oen yn rhedeg nerth ei goesau at ei fam a borai ei goreu dan frefu, a chyffyrddodd ag ef â'i thrwyn, a phrysurodd i bori. Teimlodd Dafydd ei fynwes yn tawelu wrth syllu ar y cyfarfyddiad hapus. Dychwelodd i'r ty erbyn boreufwyd.

Ar y ddyledswydd deuluaidd y boreu hwnw, darllenid Salm cvii., a phan yn darllen o'r 23 hyd y 31 adnod, "Y rhai a ddisgynant mewn

llongau i'r mor, gan wneuthur eu gorchwylion mewn dyfroedd mawrion, hwy a welant weithredoedd yr Arglwydd, a'i ryfeddodau yn y dyfnder. Canys efe a orchymyn a chyfyd tymestlwynt, yr hwn a ddyrchafa ei donau ef. Hwy a esgynant i'r nefoedd, disgynant i'r dyfnder: tawdd eu henaid gan flinder, ymdroant ac ymsymudant fel meddwyn; a'u holl ddoethineb a ballodd. Yna y gwaeddant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder, ac efe a'u dwg allan o'u gorthrymderau. Efe a wna yr ystorm yn dawel, a'i thonau a ostegant. Yna y llawenhant am eu gostegu, ac efe a'u dwg i'r porthladd a ddymunant." Gwnaeth Gomer Morgan rai sylwadau, gan gyfeirio at eu hen gymydog—eu bod yn llaw eu Tad ar y mor fel ar y tir, a bod pob awel o wynt yn cael ei gollwng o'i ddyrnau ef. Ar ei weddi cafodd hyder cryf am fordaith lwyddianus i'r llong. Yr oedd Dafydd yn siriolach y gweddill o'r dydd nag y gwelwyd ef er's dyddiau, ac fel y dywedodd lawer gwaith ar ol hyny, cafodd olwg glir neillduol ar ei liniau ar yr aelwyd y boreu hwnw ar Dduw, fel Duw rhagluniaeth, yn llywodraethu holl helyntion y byd, fychain a mawrion, ar dir a mor; a rhoddodd ei hun o'r newydd i'w ofal. Aeth trwy ei lyfrgell ei hun a llyfrgell ei dad, yn lled fanwl, i chwilio am y

llyfrau hyny a roddent hanes America; ond nid llawer oedd yn y ddwy. Nid oedd llyfrau yn bethau mor gyffredin yr adeg hono ag ydynt yn ein dyddiau ni, pan y mae y wasg yn anfon allan gyfrolau wrth y miloedd bob blwyddyn.

Yn lled fuan cymerodd Dafydd daith i Gaerlleon, a phan yno cyfarfyddodd a'r Parchedig Evan Evans (Ieuan Glan Geirionydd), a chafodd y gwr dysgedig hwnw yn Gymro twymgalon, a hynod o garedig iddo, ac efe a roddodd iddo enwau rhestr o lyfrau da gan awdwyr Americanaidd. Hefyd, aeth gydag ef i chwilio trwy y dref am danynt, a detholwyd amryw gyfrolau; a phrynodd Dafydd Morgan werth deuddeg punt, ac yn eu plith cafodd *fap* o'r Talaethau Unedig, y goreu oedd wedi ei argraffu ar yr adeg hono. Yr oedd y Parch. Evan Evans uchod yn weinidog perthynol i Eglwys Loegr yn y dref; ac er mai gyda'r Saeson y gweinidogaethai, yr oedd yn cymeryd dyddordeb neillduol mewn llenyddiaeth Gymreig, ac yn ysgolor Cymreig rhagorol—yn un o brif feirdd y genedl, ac yn cyhoeddi misolyn Cymreig o'r enw "Y Gwladgarwr," trwy yr hwn y gwnaeth lawer iawn o ddaioni ar aelwydydd ei wlad. Dywedir iddo wneyd cais at ei esgob am fywoliaeth yn ei wlad enedigol, ac i'r gwr urddasol wrthod cyd-

synio a hyny, heb roddi un math o reswm dros y nacad! Gwnaeth y gwr da hwn ei ran yn helaeth tuag at ymlid hen ofergoelion a chwedlau am y tylwyth teg a'r cyffelyb oddiar aelwydydd Cymru; a byddai wrth ei fodd yn cynorthwyo unrhyw Gymro a welai yn ymdrechu am wybodaeth. Bu yn hynod o gynorthwyol i Dafydd Morgan; ac ar ymadawiad ein harwr o'r dref dywedodd wrtho yr anfonai ef unrhyw lyfr iddo ond iddo anfon ato. Wedi treulio wythnos yn y ddinas, a gweled llawer o Gymry parchus eraill, dychwelodd ein harwr yn awyddus ei feddwl am gael y mwynhad a ddysgwyliai yn ei lyfrau newydd am America.

Ar ei ddychweliad gartref gyda'i goffraid llyfrau, ymroddodd i'w darllen a'u deall canys dyna oedd ei arfer gyda phob llyfr yr ymaflai ynddo i'w ddarllen. Argraffwyd hyn ar ei feddwl gan ei fam yn un o wersi cyntaf yr aelwyd—mai gwastraff ar amser oedd darllen er mwyn darllen. Trwy ei fod erbyn hyn yn cymeryd rhan helaeth gyda'i dad yn nyledswyddau y fferam, nid oedd yn cael ond cyfran o'i amser gyda'i lyfrau, er ei fod lawer yn fwy awchus yn awr am ei lyfrau nag y bu ar gyfnod blaenorol. Arno ef yr oedd holl gyfrifon y fferam yn disgyn yn yr adeg hon, a chadwai lyfrau rheolaidd

trwy gyfundraeth drefnus am weithrediadau y fferam,—nifer yr adeiladau ar y tyddyn oll wrth eu henwau, yr anifeiliaid yr un modd—nifer y buchod godro, a'u cynyrch mewn lloi, llaeth ac ymenyn, y ceffylau a'r ebolion, y defaid a'r moch, yn nghyd a'r da pluog; a holl gelfi y fferam; ac yr oedd gan ei dad ei le i bob peth, a phob peth yn ei le. Byddai yn ddyledswydd ar bwy bynag a roddai arf o'i law ei lanhau a'i roddi yn drefnus yn ei le; a gofalai am fod digon o bob math o arfau at law yn wastadol at amaethu. Gwyddid yn mha le i gael pob peth, fel na chollid mynyd i chwilota o'r naill fan i'r llall. Byddai y llanc golygus Dafydd yn myned gyda'i dad i'r holl ffeiriau trwy y Sir, ac yn aml i Siroedd eraill i brynu a gwerthu, yn ol yr angen. Yr oedd ganddo ddigonedd o waith ar ei law, fel nad oedd y demtasiwn o segura yn cael lle am foment yn ei feddwl. Gwnai ei dad fusnes gyda dau ariandy, un yn Nghaernarfon, a'r llall yn Bangor, a Dafydd yn gofalu am yr holl gyfrfon yn y ddau. Dewiswyd ef yn flaenor yn ei eglwys i lanw lle Caradog Lewis. Pan yn myned trwy yr oruchwyliaeth hon a'r swyddogion ddaeth yno o'r seiat fisol i gynorthwyo yr eglwys, yn ei gyngori i ymaflyd yn y swydd, ac wrth eu clywed yn son cymaint am lanw lle

gwag Caradog Lewis, dywedodd y llanc ieuanc, y gwyddai ef nad allasai lanw lle y blaenor defnyddiol hwnw. "Un Caradog Lewis a gafodd y byd yma," meddai, "a gwnaeth ei le, ac nid all neb ei lanw; a phe y ceisiwn inau at hyny, gwnawn fethiant dybryd. Gwn y rhaid i minau wneyd fy lle, a'r lle hwnw fedraf fi ei lanw; os gwneir fy lle yma, gan rywun arall nid allaf ei lanw, ond mi a addawaf y gwnaf yr hyn a allaf yn nghysgod yr hen frodyr yma, a than eu cyfarwyddiadau doeth hwy."

Dewiswyd ef i'r swydd hon pan oedd yn 22 oed, ac ymroddodd i'w chyflawni yn gydwybodol. Efe oedd ysgrifenydd yr eglwys er's dwy flynedd yn flaenorol. Yr oedd ef a'i ddosbarth yn yr Ysgol Sul yn nodedig o lafurus. Ei ddosbarth ef ydoedd y dosbarth cynorthwyol, ac edrychid i fyny ato trwy yr holl ysgol; ystyrid hi yn ddyrchafiad neillduol cael ei symud o un rhyw ddosbarth i'w ddosbarth ef. Elai ef a'i dad yn aml gyda'u gilydd i'r Cyfarfodydd Misoi i drafod amgylchiadau yr achos yn y Sir, a cheisio am gyhoeddiadau i lanw eu pwlpud, canys dyna oedd y drefn ar y cyfnod y soniwn am dano, cyn dyfod ei gwell; sef y weinidogaeth sefydlog, fel a geir yn awr yn lled gyffredin trwy

Gymru oll. Byddai yr hyn a elwid yn gydnabyddiaeth—"Degwm cil dwrn," yn haelionus yn wastad yn ——, a byddai yr holl bregethwyr yn aros yn Trefnusfaes; nid yn unig y pregethwyr enwog, ond pob un yn ddiwahaniaeth; a byddai y teulu wrth eu bodd gyda'r ymwelwyr urddasol hyn bob wythnos, ac amlach na hyny. Byddai Mrs. Morgan yn ei helfen yn gweini ar bregethwyr; nid oedd dim yn ormod ganddi ei wneyd er eu cysur, am yr edrychai hi ar eu gwaith yn ei gysylltiad â'u Meistr, a bod yn fraint iddi gael rhoddi cwpanaid o ddwfr oer er mwyn ei enw Ef. Caed gwledd lawer adeg ar aelwyd Trefnusfaes gyda'r ymwelwyr hyn, a chredai y teulu iddynt letya angylion aml adeg. Bu yr ymddyddanion ar yr aelwyd hon o fendith i'r teulu, a gwelir ôl y dylanwadau daionus hyn yn dylyn y teulu pa le bynag eu gwelir heddyw.

Bu Dafydd yn ddyfal gyda'i lyfrau a brynodd yn Nghaerlleon, ac erbyn hyn yr oedd ei feddwl yn ystor o wybodaeth am America. Byddai ymddyddanion yr aelwyd yn troi yn aml am America, fel ag yr oedd y teulu erbyn hyn yn lled gyfarwydd yn y wlad a'i helyntion. Sonient yn gyson am eu hen gymydogion, ac erbyn hyn dysgwylient lythyr bob wythnos oddiwrthynt.

Yn mhen y chwe mis i'r dyddiau daeth llythyr mawr a châs melyn am dano. Agorwyd ef gan Dafydd, ar gais ei dad; canys at Gomer Morgan yr oedd y llythyr wedi ei gyfeirio; a gwnaeth hyny yn ofalus, oblegid yr oedd wedi ei selio yn ddiogel â chwyr coch, a llinyn yn ei rwymo yn sicr. Yr oedd traul ei gludiad yn ddau swllt a grôt. Wedi ei agor cafodd Dafydd nodyn wedi ei selio ynddo, yr hwn a roddodd yn ei logell heb yngan gair, ond gwelid tôn o wrid yn taenu dros ei ruddiau hardd. Dywedodd fod Caradog Lewis wedi ysgrifenu y llythyr ei hunan, a diau fod hyny yn un rheswm am ei fod wedi bod cyhyd cyn dyfod i law. Cyn dechreu ei ddarllen ymneillduodd am ychydig i'w ystafell wely, a dychwelodd yn edrych yn siriolach nag arferol. Ymaflodd yn y llythyr i'w ddarllen i'r teulu, ond gwelai nad allasai ei ddarllen yn rhwydd, am nad oedd yn gyfarwydd a llawysgrif Caradog Lewis, fel y sylwodd, a dywedodd yr äi ef drosto cyn ei ddarllen yn uchel; a chan fod y llythyr yn lled faith, ac wedi ei ysgrifenu gan ffermwr na chafodd ddiwrnod o ysgol ddydd na nos, a hwn oedd y pedwerydd llythyr iddo ysgrifenu yn ei oes, rhoddwn benod arall iddo i draethu ei brofiad ar ei fordaith faith.

## PENNOD X.

LLYTHYR CARADOG LEWIS O'R AMERICA AT EI HEN GYMYDOG GOMER MORGAN A'R TEULU.

---

ANWYL Frawd a Chwaer a'r Plant! Mi ddarum addo ysgrifenu atoch ffunan, a mi wna gora byth y medra. Mi ros Dafydd lyfr i ni i sgyfenu tipyn bob dydd arno fo, ond bobol anwl fedrwn i ddim meddwl am dano fo. Dauth lwmp mawr i mrest i, a chododd dolur yn y mhen i, a pan on i yn treio buta y bara cynta ar y mor tudraw i Sir Fon, yn mhell, mi fuo yn raid i mi redeg am y mywud at ochor y llong, a ffrin y medris gyradd, a dyna lle buom i yn gloisi ac yn gloisi nes ron i wedi meddwl mau gloisi hynu oudd o'r tufewn i mi a wnawn i. Fuo mi ddim cyn salad yn y mywud. Taflodd fi oddiar f'echel y diwrnod cynta, a ddois i ddim ata ffun nes dwad i'r lan; a ddylis i wir na ddown i buth yr un un, achos pan eis i New York yr oni yn misio yn glir a cherdded ar y strud. Yr oudd y strud yn ysgwyd fel y llong, a mi roni wedi meddwl mai ysgwud yr oudd y wlad yma

i gid. Yr oni wedi clywad lawar gwaith am glefud y mor, ond bobol anwl liciwn i ddim i welad o ar gi neb buth, ond mi odd y merchaid yn o lew, ne dwn i beth a nauthwn i. Anghofia i buth un noson; a doni ddim mor sal chwaith y noson hono. Dechrodd y llong ysgwud o un ochor i'r llall, ac o'r ddau ben; a phob man dodd dim posib sefull na gorfadd yn nunlla. Yr oedd y llongwrs yn gwaeddi ar eu gilydd, ac yn rhedag o'r naill fan i'r llall, a thwrw ar y dec fel tasa pobpeth wedi mund yn rhudd; a dyma y cistiau yn cael eu lluchio ar draws eu gilydd o un ochor i'r llong i'r llall. Ar hynu dyma forun mawr yn tywallt am ben pob peth, nes oedd pawb yn gwaiddi am u bywyd; a ron i wedi credu yn bod ni wedi mund i'r gwaulod. Mi roni wedi caul gafal mewn rhyw bost fel post llidiart, ac yn trio dal Cathrin a Gaenor rhag iddu nhw syrthio o'r gwelu i'r dwr a'r nialwch. Roni yn meddwl mau lle gwaul iawn oedd lle fellu i gael crefydd i neb. Y peth tebyca welis i riod oudd i lon'd beudu mawr o wartheg wedi rhisio a mund o'u couau, ac yn ruthro ar i gilidd, ac mi ddarun gau y trap dor, a dyna lle y buoni dan ddudd, a mi ioni wedi ofni na welani buth olau dudd.

Ar ol hyna mi gwsom dywudd go braf am bythefnos. Mi roudd fy marf wedi mund i frifo eisio ei thori; ond doudd dim posib, achos yr odd y llong yn ysgwud. Eis at y cadben i ofun iddo beth a wnawn, a deudodd mai gadai iddi dyfu fel barf Iuddew wnawn, achos fellu yr oudd barfau pawb yn 'Merica, ac fellu y daru i mi, achos fedrwn i moi thori pe cawswn i fuwch a llo bach am neud. Pan eisi i chwilio am y rasal mi rodd wedi rhydu yn smotia cochion i gid, a chefis fud garw tori fy marf ar ol dwad yma.

Mi gawsom y'n cario o New York hefo llong i Albany, a hefo cwch canel o fan hono i Utica. Mae y dref yma gimint a Chaernarfon bob tipyn. Mi eis i'r capal ddudd Sul achos mai gin y Cymry le yma i addoli hefo eu gilydd, ac mi rodd yno bregethwr oeddwn wedi ei weled yn capel ni yna, dun ac un llygad ganddo. Edward Rhys ydi enw fo. Cymerodd ei decst yn Genesis 3: 9, 'A'r Arglwydd Dduw a alwodd ar Adda, ac a ddywedodd wrtho, Pa le yr wyt ti?' Basa yn dda gin i daswn i yn medru dweud ei bregeth o bob gair; yr on i yn meddwl na chywais i cystal pregeth 'riod. Roudd o yn dweud fod yr Arglwydd Dduw yn gofyn i bob

un o honom, Pa le yr oudda ni wrth ein henwau; ac yn wir, yn on i yn clywad fy nghalon i yn cynesu wrth i glywad o yn son mor felus am ofal ein Tad nefol am danom yn mhob man; ond pan oddo yn dweud am ei ofal am danom ar y mor mawr a thymestlog, yr oni yn teimlo dipyn yn euog amser hono, achos mi feddyliais y noson fawr hono ei fod ef wedi ein gadal i gymeryd ein siawns, achos buom ar y mor saith wsnos gyfa.

Mi fuom i fyny yn y wlad yn mhell iawn hefo Michal Owen a Guto ma, ac aethom i weled ffarm 200 acar Howell Jones y Gilfach, a disgwiliwn yn siwr weled f'ewyrth Robert Lewis, ond dim tebyg i neb ni welais; ac yr oedd Cymro yn Utica wedi dweyd wrtha i pan yn holi am f'ewyrth mai nid Cymro oudd y dun, ond mai enw y Sir, yn cael ei galw wrtho. Castall yn yr awur oudd hwnw, Gomer bach, fel llawar. Am y tir yn y mynyddoedd yma nid ydw i yn ffansio fo y tol—tir gwaul a chreigiau noethion yn dangos eu danedd trwy eu groun o yn mhob man; ac yr ydani ni am fund allan i welad y tir gwastad hwnw, a mi anfonaf eto o fan hono os medraf. Hun yn fler, ond medar Dafydd ei ddarllen o os ous darllen arno fo. Cofion atoch

bod y gun.—Caradog Lewis, Utica, Onida County, Stat of New York, North America.

Fel yna y sgyfenodd Cymro y drecsiwn i mi, ond mi fyddai wedi mynd i ffwrdd cyn y daw llythyr, ond mi fudd Cathrin a Gaenor yma, achos mi awn ni i welad y tir gwastad mawr hwn; ac os budd o yn lle da daw rhai o honom yma i nol y teuluoedd."

Wedi i Dafydd orphen darllen, dywedodd ei dad, "Mae wedi ysgrifenu llythyr go dda, ac wedi ei ysgrifenu fel y siaradai yn union. Mae'n amlwg fod ei feddwl yn ddigon cymysglyd rhwng pob peth; druan o hono mewn lle dyeithr. Daeth o hyd i gapel yno ar y Sabboth, a chafodd bregeth a'i llonodd yn dda. Pethau yr efengyl ydynt ei hoff bethau ef."

"Yr oeddwn i yn dysgwyl iddo ddywedyd mwy am Cathrin a Gaenor, a'r llanciau, ond ychydig a soniodd am ddim felly," dywedai Mrs. Morgan. Dywedodd Dafydd, "Cefais nodyn byr oddiwrth Gaenor yn y llythyr, a dywedai hi eu bod oll yn bur dda ond ei thad ar y mor, ac yr anfonai lythyr yn fuan at Ellen ac Ann."

"Ychydig iawn mae ef yn ddweyd am y wlad a'r bobl yn ei lythyr," meddai Ellen; "yr own i yn dysgwyl iddo son am y bobl dduon yno,"

meddai Ann. "A soniodd o ddim am yr afalau y sonia 'Begi y Fasged' gymaint am danu nhw," chwanegodd Llewelyn. "Wel, yr oedd y fordaith hir ac yntau yn sal iawn wedi llyncu ei feddwl, ac yntau heb arfer ysgrifenu llawer. Mae ei lythyr yn bur naturiol a hollol nodweddiadol o hono ef. Peth lled anhawdd ydyw i un heb arfer, roddi ei feddwl mewn llythyr yn drefnus iawn, ac yr oedd cymaint o bethau ar ei feddwl, fel y mae yn hawdd gweled ar ei lythyr. Fel y dywedodd fy nhad, mae ef yn ysgrifenu yn bur dda."

Dywedodd Gomer Morgan yr arosai ef dipyn cyn ysgrifenu, dichon, gan y cai Ellen ac Ann lythyr yn lled fuan. Ysgrifenodd Dafydd dranoeth. Yn mhen wythnos neu ddwy ar ol hyn dywedodd Dafydd wrth ei dad am y llyfrau a brynodd ef y llynedd yn Nghaerlleon; ei fod ef wedi cael llawer iawn o wybodaeth werthfawr ynddynt am Unol Dalaethau America, a'i fod ef yn credu y deuai mewn amser byr yn llywodraeth ag yr edrychid i fyny ati gan wledydd y byd, fel un o'r llywodraethau blaenaf. "Mae yno ysgolion yn awr," meddai, "nad oes eu rhagorach idd eu cael yn un wlad; ac y mae yno golegau ac athrofeydd cystal ag a geir yn y

wlad hon bron iawn, er mor ieuanc ydyw y wlad. Mae yno wladweinwyr medrus a duwinyddion galluog. Gwyddoch am enw Jonathan Edwards, un o'r awduron goreu. Mae y wlad hon yn rhy barod i edrych i lawr ar yr Unol Dalaethau, a hyny, fe ddichon, am ei bod wedi codi yn erbyn y wlad hon, ac enill ei hannibyniaeth arni, ac yn prysur ddringo i safle o ddylanwad yn mysg llywodraethau y byd. Mae yr Unol Dalaethau a Ffrainc wedi bod ar delerau cyfeillgar iawn; a helpodd Ffrainc hi i ymladd ei hannibyniaeth. Ffrainc a'i cydnabyddodd gyntaf yn wlad annibynol; ac nid yw y wlad yma a Ffrainc byth nad ydynt yn gwylied y naill y llall, fel y gwyddoch yn dda. Mae ffurflywodraeth y Talaethau—Gweriniaeth fel ei gelwir, yn rhoddi gwell cyfleusdra i ddadblygu dyn, ar wahan oddiwrth yr amgylchiadau y bo un ynddynt yn ddamweiniol. Mae pob sefyllfa yn y wladwriaeth yno yn agored i bob dyn, os bydd ynddo gymwysder, o'r swydd isaf yn y plwyf i'r gadair Arlywyddol yn y brif ddinas; yn unig rhaid i'r Arlywydd a etholir yno fod yn enedigol yn y wlad, a dyna yr unig swydd y gofynir hyny, os nad wyf wedi camddeall. Mae yno filoedd o filldiroedd o afonydd mordwyol yn agor y wlad i

fasnach, a chanoedd o filldiroedd o gamlesydd, a daw y ffyrdd newydd yna, fel sydd rhwng Lerpwl a Manchester, yn bethau cyffredin, nid oes dadl. Dyna y fath welliant ar deithio a chludo nwyddau a wnaeth y ffordd hono! Gellir teithio chwe milldir yr awr yn rhwydd, a gwellheir hi o hyd. Mae yr agerbeiriant yn myned i wneyd chwyldroadau dyeithr ar dir a dwfr. Mae yno filiwnau o erwau o'r tir amaethu goreu y rhoddwyd gwydd ynddo erioed, a gellir ei brynu yn feddiant rhydd. Mae yno fforestydd o goed o bob math; a cheir yno bob hinsawdd bron. Mae y Talaethau oll o fewn y gwregys tymerus. Mae yno fynyddoedd uchel a dyffrynoedd breision, a gwastadeddau bron dibendraw, a llynoedd mawrion i fewn yn y wlad o ddwfr croew grisialaidd. Mesura un llyn 460 o filldiroedd o hyd wrth 100 o led, ac mae llaweroedd o rai eraill llai, ac yn fordwyol oll i'r llongau mwyaf. Bum yn cael fy anog genych droion i gymeryd taith i'r Cyfandir, a bum yn bwriadu gwneyd hyn, ond yn wir byddai lawer gwell genyf fi fyned am dro i gyfandir mawr America. Er nad oes yno lawer, os dim, hynafiaethau celfyddydol i'w gweled a'u hedmygu, y mae yno gyflawnder o newyddiaethau, ac y mae hyny

lawer yn fwy at fy chwaeth i bob amser."

"Wel, Dafydd," meddai ei dad, "rhaid i mi addef dy fod wedi talu mwy o sylw i'r wlad eisoes nag a ddarfu i mi yn fy oes; ac mae yn ddiau fod yno fanteision fel y nodaist. Mae mor wir hefyd fod mewn gwlad newydd lawer iawn o aufanteision. Wrth gwrs, nid oes yno fawr o ddim ond amaethu y tir yn cael ei wneyd. Anfonir o'r wlad hon a gwledydd eraill yr holl arfau at eu gwasanaeth o'n llaw-weithfeydd ni yr ochr hon; ac anfonant hwythau gynyrch eu tiroedd yma yn gyfnewid. Anfonir oddiyno bob blwyddyn ganoedd os nad miloedd o dunelli o gotwm i'n ffactris ni yma, i'w wneyd yn ddefnyddiau parod; ac anfonir ef yn ol iddynt. Fel yna y parha pethau yno. Bydd America, fel fferam fawr yn cynyrchu pethau at gynaliaeth dyn ac anifail, a ninau yma fel gweithfa fawr yn cael ein bywoliaeth wrth droi eu defnyddiau amrwd hwy yn barod i'r siopau yno."

"Ydynt, y mae pethau i raddau helaeth fel y dywedwch," ychwanegai Dafydd, "ond y maent yno rywbeth yn debyg hefyd i deulu ieuanc yn dechreu byw ar dyddyn heb ei drin; daw yn well yno o hyd. Mae adnoddau mwnawl y wlad bron yn ddihysbydd—haiarn a glo, aur ac arian.

Yn America, mae 'aur Peru' y sonia Williams, Pantycelyn, am dano, a phan ddaw yr amser i ddadblygu ei hadnoddau dihysbydd, bydd y wlad yn llawn o bob cyfleusderau o law-weithfeydd a ffactris o bob math, a phob math o ddiwydianau fel ag a geir yma yn awr. Gall y Talaethau Unedig ddyfod y wlad fwyaf annibynol yn yr holl fyd."

"Ac," meddai ei dad, "rhaid i mi ddweyd wrtha ti, fel y dywedais wrth Caradog Lewis, dy fod di wedi cael clefyd America, Dafydd bach."

## PENNOD XI.

LLYTHYR ARALL O'R AMERICA—DAFYDD MORGAN A'I FRYD AR FYNED YNO, AC YN CAEL CANIATAD.

---

YN mhen tua mis ar ol derbyn y llythyr oddiwrth Caradog Lewis, derbyniodd Ann ac Ellen lythyr oddiwrth Gaenor Lewis, yn eu hysbysu ei bod hi a'i mam yn iach, ond yn lled hiraethus; bod ei thad a Dafydd ac Owen ei brodyr, Griffydd Thomas a Michael Owen wedi myned i edrych tir i Wisconsin, a'i bod hi a'i mam yn aros gyda theulu o yn agos i Bwllheli mewn pentref o'r enw Remsen, ac ar ol iddynt gael lle i'w plesio, y deuai Dafydd a Michael Owen yno i fyned a hwy gyda hwynt. Yr oedd Michael Owen am briodi gyda dynes sydd yn byw yn y pentref, Cymraes o Sir Fon, ac ä'i gyda nhw bob cam. Nid oedd y merched yn gwneyd dim trymwaith, ac yr oedd hi yn meddwl fod yno y lle goreu ar y ddaear i ferched gweini.

Dywedodd Gomer Morgan wrth ei briod ei fod ef yn ofni, pe ofni hefyd, mai i America y

byddai Dafydd yn myned, pryd y dywedodd hithau ei bod wedi gwneyd ei meddwl yn barod er pan aeth Caradog Lewis a'r teulu, mai yno yr â'i ef; ac fel yr oedd wedi dywedyd wrthi beth amser yn ol; ei fod ef yn meddwl y byddai yn well ganddo gymeryd taith i America nag i'r Cyfandir.

Mae Llewelyn erbyn hyn wedi gorphen ei gwrs addysg; ac aeth Dafydd ac yntau am dro trwy y wlad a rhanau o Loegr, a buont am ddau fis oddicartref. Bwriadai Llewelyn fyned i efrydu y gyfraith, am mai dyna oedd tueddiad ei feddwl. Yr oedd yr hen flaenoriaid yn yr ardal, a thref Caernarfon, yn coleddu yn-ddirgel yn eu plith eu hunain, feddyliau am i Dafydd Morgan, Trefnusfaes, fyned i'r weinidogaeth; canys dyna oedd yr unig safle anrhydeddus yn y wlad i wr ieuanc o alluoedd edrych am dani y cyfnod hwnw, ac am lawer o amser ar ol hyny; ond pan soniwyd wrtho ef, dywedodd yn ddifloesgni nad oedd ef wedi ei gymwyso i'r weinidogaeth; ei fod yn adnabod ei hun yn lled dda, ac y gwyddai y gallai efe fod o fwy o wasanaeth i achos yr Arglwydd yn ei oes nag yn y pwlpud. "Dyma y swydd uwchaf y gall dyn fyned iddi ar y ddaear," meddai, "ac y mae gen-

yf syniadau uchel am y rhai sydd ynddi. Fel yr ydwyf wedi amlygu yn flaenorol, fy uchelgais i ydyw bod o wasanaeth i fy Ngwaredwr mewn cylch llai cyhoeddus, ac yn benaf yn yr Ysgol Sabbothol." Gwyddai ef mai amaethwr oedd ef wedi ei eni, a'i fod yn benderfynol o'i dylyn a'i gwneyd hyd y gallai yn is-wasanaethgar i achos yr Arglwydd.

Yn nechreu mis Gorphenaf, 1837, daeth llythyr oddiwrth Caradog Lewis wedi ei ysgrifenu gan Michael Owen, yn rhoddi hanes lled fanwl am eu taith o Utica i Wisconsin, a'u bod wedi prynu tir, 480 o erwau, sef fferam o 160 erw i bob un, a choed ar ranau o honynt. Safai y tir ar wastadedd eang, ac yn barod i'w aredig a rhoddi yr hadau ynddo. Yr oeddynt yn parotoi at roddi eu tai i fyny, sef tai o goed, fel y gallent gael eu teuluoedd atynt heb oedi, a'u bod oll yn iach a chalonog.

Mewn ymddyddan gyda'i dad a'i fam a'r teulu un dechreunos, dywedodd Dafydd Morgan ei fod ef yn cael tueddu ei feddwl yn gryf i roddi taith i'r America, os y caniataent iddo wneyd hyny. Nid oedd hyn ond peth a ddysgwylient er's amser bellach; ac er yn groes i'w teimladau wrth gwrs, nid y teimlad a lywodraethai y

teulu hwn, ond barn seiliedig ar ddealltwriaeth. Dafydd oedd y cyntafanedig, ac efe, yn unol a chyfraith y tir, oedd yr etifedd; ond ni roddai ef lawer o bris ar hyny, oblegid rhoddodd ef ei fryd ar enill iddo ei hun etifeddiaeth ag y gallai wneyd a hi fel yr ewyllysiai. Credai ef fel Dr. Franklin, mai yr hyn a enillai dyn ei hun oedd yr etifeddiaeth oreu i bob dyn. Cydsyniodd ei rieni a'i gais, ond bu ei chwiorydd a Llewelyn yn lled hwyrfrydig i roddi iddo eu cydsyniad; ond am y dysgwylient ei weled wedi dychwelyd yn fuan cafodd eu cydsyniad hwythau, a bu hyny yn esmwythad mawr i'w feddwl tyner, a'i ofal am deimladau ei deulu, am yr ofnodd na roddid eu caniatad iddo. Bellach, mae ein harwr wedi ei ryddhau o rwymau caethiwed ei feddwl; ac y mae weithian yn parotoi ei hun—trefna ei holl gysylltiadau bydol ac eglwysig yn ofalus a threfnus; a buan y daeth i ymdeimlo fod ganddo linynau pur dyner i'w datod, a bod mwy ynddo nag oedd ef wedi ei sylweddoli. A chan mai blin i deimladau dynoliaeth ydyw holl ddadgysylltiadau serch ag sydd yn arwain ac yn dybenu gyda'r gair casaf yn yr iaith, "Ffarwel," tynwn y llen dros yr olygfa, a gadawn i'r darllenydd syllu arni yn ymledu trwy ei

ddychymyg, os ewyllysia hyny; gwell genym ni droi oddiwrth yr olygfa, a hyny a wnawn, trwy alw sylw y darllenydd at yr hyn sydd fwy cysurus. Cawn edrych ar dad a mam y llanc pryd-weddol yn ymgysuro yn yr ymwybodolrwydd sydd yn eu mynwesau eu bod wedi cyflawni eu dyledswydd ar eu haelwyd fel rhieni tuag at eu cyntafanedig oedd ar droi ei gefn arni, a gwneuthur iddo ei hun aelwyd; ac mae ei dad ac yntau yn trefnu iddo gael mil o bunau at ei wasanaeth mewn ariandy yn New York, trwy eu hariandy yn Bangor.

## PENNOD XII.

**DAFYDD MORGAN YN CYCHWYN AM AMERICA—EI LYTHYR AT EI RIENI AR OL CYRAEDD.**

---

MAE datod y cylymau tynion, a thynu yr edafedd sydd ymblethedig trwy ei serchiadau am ei wlad enedigol, a golygfeydd ei faboed, yr eglwys, ei ddosbarth yn yr Ysgol Sabbothol, ei frawd a'i ddwy chwaer, yr aelwyd lle ei meithrinwyd ac ei haddysgwyd arni, ei dad a'i cenedlodd, a'i fam a'i hymddygodd, yn dasg sydd yn llethu ei ysbryd; ond y mae rhyw "Am hyny y gad dyn, ac y glŷn" wedi meddianu calon ein gwron, ac yn mreichiau cryfion yr "am hyny" dygwyd ef trwy yr holl anhawsderau, a gwelwn ef yn cychwyn, ond nid heb ollwng llawer o ddagrau. Aeth i Lerpwl, a chafodd long yn parotoi i hwylio allan i wlad machlud haul, a chytunodd am ei fordaith ar ei bwrdd. Wedi bod yn y dref fawr uchod am ddyddiau, cyfarfu ag eraill yn myned ar yr un llong—pedwar o Gymry, dau o'r dref hon, un o Ddeheudir Cymru, ac un o Sir Feirionydd.

Anfonodd lythyr i'w gartref yn eu hysbysu y byddai y llong yn hwylio allan ar ddydd penodol, ac y byddai ef ar ei bwrdd y prydnawn hwnw, a'i fod wedi cwrdd a Chymry yn myned ar yr un llong, ac fel y deallai, fod amryw o ymfudwyr o wahanol genedloedd, ond yn benaf Gwyddelod. Hwyliodd ein harwr mewn hwyl-long perthynol i gwmni o Philadelphia, America, a'r oll o'r dwylaw yn Americaniaid. Caed mordaith lwyddianus; ac wedi pum wythnos o hwylio glaniasant yn mhorthladd New York. Aeth Dafydd Morgan i westy cyfrifol yn y ddinas; ac ar ol treulio wythnos yn y dref i barotoi ei hun, cychwynodd i'r wlad gydag agerlad ar yr afon Hudson, i Albany. Cyn gadael New York ysgrifenodd at ei dad a'i fam. Am y cawn ganddo ef ei hun hanes lled fanwl o'i daith trwy y wlad o New York i'r sefydliad lle yr oedd Caradog Lewis a'r teulu, yn ei lythyr at ei rieni a'r teulu yn Nghymru, ni bydd i ni fanylu yma, ond rhoddwn ei lythyr ef, am ei fod yn rhagorach na dim a allwn ni ei ysgrifenu.

Milwaukee, Wis., Awst 8, 1838.

Fy Anwyl Rieni! Mae yn bur dda genyf allu eich hysbysu fy mod yn iach, a gobeithiaf eich

bod chwithau oll felly gartref. Cymerodd i mi dri mis a dau ddiwrnod ar fy nhaith o Lerpwl yma. Gobeithiaf i chwi dderbyn fy llythyr atoch o New York. Da genyf eich hysbysu fod Caradog Lewis a'r teulu oll yn iach, ond yn bur brysur yn gwneyd iddynt eu hunain gartref newydd ar eu tyddyn. Dymunant gael eu cofio atoch oll yna. Ymdrechaf roddi i chwi ychydig o fanylion o'm taith o New York i gartref ein hen gymydog caredig.

Yn New York cymerais agerfad ar afon fawr a elwir Hudson, ac weithiau gelwir hi North River, i Albany, pellder o'r ddinas uchod o 145 milldir, ar ochr orllewinol yr afon. Y dref hon ydyw eisteddle llywodraeth Taiaeth fawr New York. Sefydlwyd Albany ar y cyntaf gan yr Ellmyniaid, yn y flwyddyn 1614, ond yn 1664 daeth i feddiant y Saeson, a galwyd hi yn Albany, o anrhydedd i Duke of York and Albany. Mae ar ddwy lan yr afon fawr hon amryw o fân bentrefydd a ffermydd helaeth; ond tir anial a welir fwyaf o lawer, yn cael ei orchuddio gan goedwigoedd helaeth. Gwelwn fynyddau uchel yn y pellder, yn peri i mi feddwl am yr Elidir, a'r Wyddfa; ond y gwahaniaeth yw fod yr ucheldiroedd hyn a welwn yn orchuddiedig gan

goed. Diau fod ar lenydd yr afon hon diroedd amaethu rhagorol. Ai fy llythyr yn rhy faith pe yr amcanwn roddi i chwi ddesgrifiad o'r golygfeydd rhamantus a welwn ac a fwynheais ar fy nhaith trwy y wlad ar y bad; nid oedd genyf un math o ddychymyg gwerth son am dano wedi ei gael trwy ddarllen am y wlad o New York i Albany. Wedi dyfod i Albany cymerais fy nghludiad ar fad ar gamlas Erie, yn cael ei dynu gan bedwar o fulod. Teithiwn trwy y dyffryn hwnw y cofiwch i gyfaill Caradog Lewis son am dano yn ei lythyr atoch, ei fod yn fwy na Dyffryn Clwyd—sef dyffryn y Mohawk; ac y mae yn ddyffryn ardderchog yn wir, ac afon o'r un enw yn rhedeg trwyddo. Trwy fod y wlad y teithiem trwyddi yn lled wastad, nid oeddym yn dyfod i lociau yn aml. Teithiem yn lled gyflym. Gyrid y mulod gan fachgenyn mewn cyfrwy ar gefn y mul blaenaf, a chwip fawr ganddo yn ei chlecian, ac yn chwibanu dros bob man. Ar y bad teithiai pedwar o honom, a phedwar yn perthyn i'r bad, y cadben a'i ddwylaw. Y teithwyr gyda mi oeddynt ddau Ellmyn a Gwyddel, a chafwyd peth digrifwch gyda hwy. Yr oedd y Gwyddel yn Babydd penboeth, a'r ddau Ellmyn yn Brotestaniaid

pwyllog, ac aeth yn ddadl rhwng y Gwyddel a hwynt. Am fod y Gwyddel yn gwybod am enw Luther, a'i fod yn Ellmyn, aeth yn ddigon brwnt ei dafod wrth y ddau, a rhoddai bob enw brynta a fedrai ef feddwl am dano ar y diwygiwr enwog Martin Luther, ond nid hawdd y cynyrfid tymer hamddenol y ddau Ellmyn. Gwelwn fod y ddau lawer mwy deallus na'r Gwyddel, ond fod ei dafod ef yn rhyddach, a'i arabedd i wawdio a rhoddi enwau bryntion ar Luther yn fwy miniog, pryd y daeth y cadben atynt, a phan ddeallodd Pat mai Ellmyn oedd cadben y bad, tawodd a'i glebar ffol, a chafodd y ddau Ellmyn dawelwch. Dywedodd y cadben, gan fytheirio llw, os agorai ei enau wed'yn am Luther, y taflai ef dros y bwrdd, a swatiodd yn bur llonydd. Rhyfeddais pan welais yn mysg llyfrau eraill gan y Cadben, y Beibl a "Thaith y Pererin" yn Saesneg. Mae y golygfeydd oddiar fwrdd y bad ar y gamlas trwy y dyffryn mawr hwn yn swynol i'r eithaf, er mai anialdir a welir ar bob llaw, ond y mae yma ambell i fferam idd ei gweled yma ac acw trwy y dyffryn, er yn anaml iawn, hyd yn hyn. Diau y gwelir y dyffryn prydferth hwn yn feusydd toreithiog yn fuan iawn.

Daethom i Utica, ac O! mor dda fuasai genyf pe buasai Caradog Lewis a'r teulu yma yn awr, ond nid ydynt; ac nid oes amser i fyned i chwilio am y Cymry y soniai am danynt yn ei lythyr. Rhaid oedd aros ar y bad, a myned rhagom. Mae hon yn dref fach lled ddymunol gallwn feddwl, a gall ddyfod yn dref fawr. Mae wedi ei hadeiladu ar ochr ddeheuol afon Mohawk, a gwlad amaethyddol o'i hamgylch. Oddiyma yr oeddym yn myned trwy wlad eang, a chan belled ag y gallesid gweled ar bob llaw nid oedd dim ond tir a allesid ei amaethu i'w weled, ac ambell i fferam yma ac acw yn nghanol coedwig. Gwelem fân bentrefydd o ychydig o dai cyffion, ar lan y gamlas yn awr ac eilwaith. Aethom trwy ddwy dref lled helaeth, Syracuse a Rochester—yr olaf ar lan afon a elwir Genesee, ac yma mae y gamlas yn croesi yr afon fawr hon, 229 milldir o Albany. Mae yn agos i'r dref hon gyfleusderau rhagorol i felinau, am fod yma y fath ddisgyniad ar yr afon. Gallwn feddwl nad yw y disgyniad arni yma ddim llai na 100 troedfedd, a rhoddai y fath ddisgyniad a hyny allu dwfr i weithio llawer o beirianau, a diau y gwelir hyny yma yn ehelaeth. Daethom i Buffalo, tref ar derfyn ein taith ar y gamlas.

Teithiasom ar hyd y gamlas o Albany i Buffalo, pellder o 364 o filldiroedd—dyna ydyw hyd y gamlas. Nid ydym yn mhell iawn yn Buffalo oddiwrth raiadr mawr Niagara; dywedir y gellir clywed ei swn yn disgyn am haner can milldir oddiwrtho!

Mae Buffalo yn dref lled helaeth, ar ben dwyreiniol llyn mawr a elwir Erie. Yno cymerais hwyl-long ar y llyn, yr hwn sydd 250 o filldiroedd o hyd o ddwfr croew, a chawsom ein hysgwyd ar ei wyneb yn lled flin. Bechan oedd y llong, ac yr oedd yma amryw o deithwyr. Ar y llyn hwn yr ymladdwyd un o'r brwydrau diweddaf rhwng y Talaethau a Lloegr, a gorchfygwyd Lloegr. American ydyw Cadben ein llong, a siaradai yn ddiddiwedd am y fuddugoliaeth a gafodd ei wlad ar Loegr, ar y dyfroedd hyn. Ymladdwyd y frwydr hon Medi 10, 1813. Enw y llyngesydd oedd Parry; a chyfeiriai ein Cadben ei fys yn aml at fanau lle y bu yr ymryson gwaedlyd. Nid oes fawr gydag ugain mlynedd er pan y cymerodd hyn le. Yr oedd ein Cadben yn hwylio un o'r llongau yn y frwydr; ac yr oedd dipyn yn ymffrostgar hefyd oblegid hyn.

Daethom i dref ar ben y llyn hwn a elwir Detroit, ac oddiyma hwyliem yn annyben ar

afon am 45 milldir, a daethom i lyn arall a elwir Huron, ac y mae hwn yn 300 o filldiroedd o hyd. Yr oeddym pan yn hwylio ar y llyn allan o olwg y tir fel pe ar y mor, a hwnw yn ddwfr croew a dysglaer. Gwelem lawer o longau yn hwylio ar y llyn mawr hwn. Yr ydym yn troi i'r gorllewin ar ben y llyn hwn, cyn myned i lyn mawr a elwir Superior, y llyn hwnw y dywedais ei fod yn 460 milldir o hyd, ond ni chaf ei weled. Mae ein llong yn hwylio trwy gut-lyn a elwir Mackinaw, ond mae yn llawer lletach nag afon Menai yna. Wedi hwylio yn ddigon annyben trwy y dyfroedd hyn yr ydym yn dyfod i lyn arall a elwir Michigan, ac y mae hwn yn agos i 300 o filldiroedd o hyd, yn gorwedd yn gyfochrog a'r llyn y daethom i fyny arno, sef Huron, ond fod darn mawr o dir rhwng y ddau.

Yr ydym yn myned i lawr y llyn yma am tua chant a haner o filldiroedd, a daethom i Milwaukee, y dref fwyaf yn nhiriogaeth fawr Wisconsin. Ffurfiwyd y diriogaeth fawr hon yn y flwyddyn 1836. Mae iddi Lywodraethwr fel Talaeth yn yr Undeb. Enw y Llywodraethwr cyntaf ar y diriogaeth ydoedd Henry Dodge. Penodir Llywodraethwr tiriogaeth gan Arlyw-

ydd y Talaethau Unedig, ac nid ei ethol fel y gwneir ar ol ei gwneyd yn Dalaeth. Ysgrifenaf atoch yn fanylach am hyn eto. Dyma fi yn Milwaukee, lle mae nifer o Gymry wedi sefydlu. I lawr dipyn ar y llyn mewn pentref a elwir Racine, mae mwy o Gymry wedi sefydlu a phrynu tiroedd o amgylch. Ar ben deheuol y llyn mae pentref bach arall o'r enw Chicago. Ond Milwaukee, fel y deallaf, ydyw prif dref y rhan yma o'r wlad a dim maint ynddi, a diau genyf y daw hon yn dref fawr. Mae hi ar le manteisiol iawn i wneyd tref a gwlad amaethyddol am ganoedd o filldiroedd o'i chwmpas—y llyn yma fel mor mawr, a hithau ar ei lan, a thrwy fod y gamlas y soniais am dani yn cysylltu y mor a'r llynoedd y daethym ar hyd-ddynt, gellir anfon cynyrch y wlad fel yna oddiyma i lan y mor yn New York, pellder, fel y teithiais, o yn agos i 1,200 o filldiroedd.

Cyraeddais at deulu Caradog Lewis, a chefais hwynt oll yn iach, ac nid oedd dim yn ddigon ganddynt ei wneyd i mi. Mae fy llythyr wedi myned yn faith. Yn fy nesaf anfonaf hanes y lle hwn, a'm taith o Milwaukee yma. Dymuna Caradog Lewis a'r teulu oll gael eu cofio atoch, ac at yr eglwys yn benodol. Creda ef i weddiau

ei frodyr a'i chwiorydd ar ei ran ef a'i deulu, gael eu gwrando, a dymuna am barhad o ran yn eich gweddiau. Rhoddais Milwaukee yn gyfeiriad i anfon ataf, am nad ydys yn cael y mail i'r lle hwn eto, a byddaf yn y dref hon yn lled fynych. Yr eiddoch yn serchus, eich mab,

DAFYDD MORGAN.

## PENNOD XIII.

**CROESAW YN ARDAL CARADOG LEWIS—MYNED AR HYNT I ARCHWILIO Y WLAD.**

---

WEDI i'n harwr gael tipyn o orphwysdra ar ol ei daith faith o yn agos i 5000 o filldiroedd, a hyny heb fawr o drefn o brydau rheolaidd, na gwely fel yr arferai ef gael, mae yn mwynhau croesaw y sefydlwyr; canys y mae croesaw calon i bob newydd-ddyfodiaid i sefydliadau o'r fath trwy y wlad. Yr oedd cysylltiadau Dafydd Morgan yma yn peri fod y sefydlwyr yn dyblu eu caredigrwydd. Dechreuodd edrych o'i gwmpas, a buan y daeth i weled nad allasai gael golwg ar lawer o'r gwastadeddau eang hyn a ymledent ar bob llaw iddo, can belled ag y gellid yspio. Felly penderfynodd brynu ceffyl da. Yr oedd wedi rhoddi yr ychain y daeth gyda hwynt o Milwaukee, at wasanaeth Caradog Lewis i drin ei dir, yr hyn a fu o fawr gymorth iddo; canys nid oedd ganddo ond un ceffyl. Aeth Dafydd Morgan i Milwaukee a phrynodd geffyl graenus. Yr oedd wedi dyfod a chyf-

rwyau gydag ef o Gymru, a ffrwynau, chwip ac yspardynau. Yn awr, pan yn y dref cyflogodd wedd i gymeryd ei gistiau o'r dref i'r sefydliad, a marchogodd ei geffyl bob cam, canys yr oedd efe yn farchogwr diguro. Pan ddychwelodd i dy Caradog Lewis, wedi marchogaeth yr holl filldiroedd, yr oedd y teulu wedi eu synu! Dywedai Caradog Lewis wrtho fod yr ychain a roddodd ef iddo yn weithgar iawn, ond fod yn biti calon ganddo ef weled y bustych gwirion yn gweithio felly, fel ceffylau!

Aeth Dafydd Morgan i Portage, pentref bychan o ychydig o dai ar y pryd; a phan yno gwelai ar unwaith y gallai ddyfod yn dref yn bur fuan. Yr oedd yma ddwy afon yn cydgyfarfod, sef y Fox a'r Wisconsin, ac yr oedd ei graffder yn gweled y posibilrwydd o'i chynydd yn y fan. Penderfynodd y gwnai y lle hwn yn ganolbwynt, ac yr ysbiai y wlad yn hamddenol o amgylch Portage; a hyny a wnaeth. Nid oedd map o'r wlad i'w gael am unrhyw bris, ac am hyny gwnaeth ein harwr fap, a nodai allan arno holl nodweddion y tir am filldiroedd o amgylch Portage. Yr oedd erbyn hyn yn dysgwyl llythyr oddicartref. Dychwelodd i Milwaukee, a chafodd lythyr, yr hyn roddodd iddo foddlonrwydd

mawr, pan y deallodd eu bod oll yn iach, a bod ei frawd Llewelyn yn llwyddianus gyda ei efrydiau yn y gyfraith.

Wedi cyraedd drachefn i dy Caradog Lewis, a'i hysbysu ef am y newyddion da o Gymru, a'u bod yn holi am danynt, ac yn cofio atynt, dywedodd fod yn ddrwg ganddo eu hysbysu fod yr hen wreigan "Modryb Mal" wedi ei chladdu. "Druan o honi hi," dywedai Caradog Lewis, "mae hi yn llawer gwell ei lle!" "Ac mae 'Modryb Mal' wedi marw; yr oeddwn yn meddwl am dani boreu heddyw; yr hen greaduras," meddai Cathrin Lewis. "Soniodd lawer am Gaenor ar ol i chwi ymadael," dywedodd Dafydd Morgan. "O! yr hen wraig wirion! Ni chaf ei gweled hi yn rhagor. Bum yn dyfalu am bwy y cawn glywed gyntaf wedi marw gartref, ond ni ddaeth hi i fy meddwl; yr oedd hi fel pe i fyw ar ein holau oll," meddai Gaenor. Prysurodd Dafydd Morgan i anfon llythyr gartref, oblegid yr oedd ganddo gryn lawer i'w ddweyd erbyn hyn am y wlad, a rhaid rhoddi penod arall i'w lythyr ef a llythyr a dderbyniodd oddicartref.

## PENNOD XIV.

LLYTHYR DAFYDD MORGAN AT EI DAD A'I FAM—EI BROFIAD YN MHEN BLWYDDYN.

---

Portage, Wis., Mehefin 10, 1839.

"Fy Anwyl Dad a Mam, Chwiorydd a Brawd! Daeth eich caredig lythyr i'm llaw yn ddiogel, wedi bod ddeng wythnos ar ei siwrnai! Mor dda oedd ei dderbyn a gweled ynddo eich bod oll yn fyw ac iach; a gallaf finau ddywedyd fy mod yr un modd, ac yn hoffi hinsawdd y wlad yn rhagorol; ond yr oedd yn bur oer yma y gauaf diweddaf. Ofnwn am dano, am fod y rhai fu yma auaf o'm blaen yn dywedyd ei fod yn hynod o oer, ond aeth heibio yn lled ryfedd. Mae yma ddigonedd o danwydd, a thanllwyth o dan ar yr aelwyd, ddydd a nos. Mae teulu Caradog Lewis yn iach, ac yn dyfod yn mlaen yn rhagorol ar eu fferam o 200 erw. Prynodd ddarn at y lle oedd ganddo, o 40 erw, a gwna gartref cysurus yn fuan iawn. Crybwyllais wrthych yn fy llythyr diweddaf am fy nyfodiad yma o Milwaukee. Rhoddaf i chwi yn hwn dip-

yn o'r manylion am y daith hono. Cyngorwyd fi ar fy nyfodiad yno gan y Cymry i brynu par o ychain a phedrolfen, a theithio yn hamddenol trwy y wlad—y cawn felly fwy o fantais i'w gwéled, ac felly y gwnaethym. Yr oedd dau Gymro yn y dref yn dyfod gyda mi allan i'r sefydliad ar y Prairie. Gwnaethom ddarpariaeth yn unol â chyfarwyddiadau y Cymry, a chychwynasom trwy wlad heb ffordd na llwybr, ond llwybr Indiaid; ac mae eu llwybrau hwy fel llwybrau defaid yn gul, canys felly y cerddant, yn rhes ar ol eu gilydd. Gwnaeth Cymro fu allan amlinelliad i mi o'r wlad yr aem trwyddi, a chyda hwnw a chwmpawd gwnaethom ein ffordd yn llwyddianus.

"Cyfarfyddwyd ni gan ddau Indian, yn haner noethion—dim ond blancedi drostynt. A chyfaddef y gwir, arswydwn eu cyfarfod. Pan oeddynt yn myned heibio troes y ddau i edrych beth oedd genym yn y drol, ac edrychent yn fanwl ar bob peth. Cymerais afael mewn basged yn llawn o fwyd, ac agorais hi; a phan welsant y bwyd gwelwn eu bod yn gwenu ar eu gilydd, a deallais iaith eu gwenau yn y fan. Mae iaith gwenau yr un yn mhob dyn, boed ei iaith beth y bo, a lliw ei groen. Ni newidiodd cym-

ysgfa twr Babel yr iaith yma. Mae hi yr un trwy y byd. Rhoddais iddynt gyfran dda o'r fasgedaid, ac aethant i'w ffordd yn llawen. Aethom ninau yn ein blaenau.

"Tua deg o'r gloch boreu y trydydd dydd o'n taith daethom i gors fawr, a buom yn petruso beth i'w wneyd yma, ond gwelsom y llwybr Indiaidd yn ei chroesi, ac anturiasom. Yr oedd yr ychain yn glynu tipyn, ond yn myned yn hamddenol, a phan oeddym tua chanol y gors gwelem bedrolfen a dau geffyl a llwyth o rywbeth mewn sachau wedi glynu a suddo i'r llaid hyd at y bothau, a dyn yn chwys ac yn faw yn troi o'i amgylch. Pan welodd ni daeth i'n cyfarfod, a deallais yn y fan mai Cymro oedd ef. Gwisgai het silk, wedi bod yn un dda, ond yn awr yn goch a tholciog, ac yn faw i gyd. Yr oedd ganddo gôt o frethyn cochddu, gwasgod stwff, clôs penglin o felfered, a chrys gwlanen, gyda'i golar yn agored, a'i wasgod felly, a chwys yn rhedeg ar ei frest. Er mwyn cael ychydig o ddigrifwch yn y fath le, a than y fath amgylchiadau, gofynais iddo yn Saesneg, 'What are you doing here?' Rhoddodd ei law ar ei enau, ac edrychai yn wyllt, ac meddai, gan gylcirio a'i fys, 'Milwoci, Milwoci.' Dywedasom

wrth ein gilydd yn Saesneg yr helpem ni ef allan, cyn ei hysbysu mai Cymry oeddem. Tynasom ein hychain o'r bedrolfen, a bachasom hwynt o flaen ei geffylau, a siaradai yntau Gymraeg wrth y ceffylau. Wedi ei gael allan i dir caled edrychai arnom yn siriol iawn, ac aeth ar ei lin ar y ddaear, a dywedai, 'Tanci, tanci,' a thynodd ei bwrs o'i logell, ond nid allasom oddef dim yn hwy. Dywedais, 'Cymro ydach chwi onide?' Edrychodd arnaf fel pe yn ameu ei hun, a dywedwn eilwaith yr un geiriau. 'Wel, bobol anwyl, Cymry ydach chi. Yr oedd hi wedi myn'd i'r pot yn lan arnaf, bobol anwyl. I ble yr ydach chi yn myn'd, deudwch? Fedra i byth fod yn ddigon diolchgar i chi am fy helpu allan. Yr oeddwn wedi cerdded llawer, ôl a blaen, hyd y fan yma er y boreu i edrych a welwn i ryw help.' Wrth ei glywed yn siarad deallais mai tafodiaith Sir Gaernarfon oedd ganddo, a gofynais iddo o ba le o Gymru yr oedd ef wedi dyfod? pryd yr atebodd mai o Lanberis. 'Ai y chwi ydyw——?' 'Ie, siwr dyna fy enw. Gwelais chwi lawer gwaith yn Nghaernarfon, mi gredaf.' Dywedais, 'Do, mi gwrantaf chwi; byddwn yno bob Sadwrn.' Ar hyn aethom i gael tamaid o fwyd hefo ein gilydd, a chaed ymgom felus iawn.

Yr oedd yn adnabod Caradog Lewis a'r teulu yn dda. Pan ofynwyd iddo erbyn pa bryd y gallem gyraedd ato, dywedodd, 'Cychwynais i ar ol haner nos y noson cynt; gallwch chi fyned yn gynt nag y daethym i, canys mae genyf fi lwyth o wenith lled drwm yn myned i'r felin i Milwaukee.'

"'Ymadawsom wedi ein hadnewyddu yn fawr, a chefais lawer o gyfeillach y gwr ar ol iddo ddychwelyd. Wel, cyraeddasom i'r sefydliad yn ddiogel, ac yr oedd yn bur dda genyf weled Caradog Lewis a'r teulu, fel y dywedais o'r blaen. Yr wyf erbyn hyn wedi gweled llawer o'r wlad. Prynais geffyl, a marchogais am lawer o filldiroedd dros y gwastadeddau yma a elwir prairies—enw a roddwyd ar dir fel hwn gan Ffrancwr a fu yn chwilio gwastadedd y dyffryn mawr a elwir dyffryn y Mississippi. Mae yn y wlad hon filoedd o filldiroedd o'r prairies yma. Nid ydynt yn wastad fel bwrdd, ond y maent rywbeth yn debyg i wyneb y mor, ac yn cyfodi yn raddol i'r uchder o 30 i 1,500 o droedfeddi uwchlaw arwynebedd y mor, ac afonydd yn rhedeg trwyddynt yn fynych. Tyf coed ar ranau helaeth o'r prairies, ar lanau yr afonydd, a phantiau isel. Bum yn marchogaeth trwy

wlad fel yna am ddiwrnodiau, ac wrth edrych o'm hamgylch oddiar y cyfrwy dyna a welwn i bob cyfeiriad, can belled ag y gwelwn, a'r awyr yn cau o'm cwmpas yn grwn, ac yn cyffwrdd a'r ddaear, fel pe buaswn o dan babell lian fawr. Gorchuddir y gwastadeddau hyn gan wair tew ac uchel. Dyma y rhyfeddod fwyaf a welais erioed; nid ellir eu desgrifio; rhaid eu gweled i allu cael syniad am danynt. Cymer y gwair yma dan weithiau, a golygfa ofnadwy ydyw gweled prairies ar dan; rhed y tan yn gyflymach nag y gellir ei ganlyn gyda'r ceffyl cyflymaf. Dywedodd penaeth Indiaidd wrth un o Arlywyddion y wlad, ar ol iddo ei anfon ar draul y llywodraeth i weled prif ryfeddodau y Talaethau Unedig, pan ofynodd yr Arlywydd iddo ar ei ddychweliad i Washington sut yr oedd ef yn hoffi y pethau a welodd o waith y dyn gwyn—'Ni welais i ddim byd gan y dyn gwyn i'w gydmaru â prairie ar dan.' Dyna fardd natur yn mysg yr anwariaid!

"Yr ydwyf wedi boddloni fy hun ar ddarn o dir i'w brynu, a hyny ar ol trafaelio ugeiniau o filldiroedd; a'r cwbl sydd arnaf eisieu yrwan ydyw eich cydsyniad chwi yna i wneuthur hyny. Gellir prynu yn awr gan y llywodraeth yn un-

iongyrchol, a chymerir y tiroedd i fyny yn brysur iawn yma. Mi gredaf i mi wneyd detholiad o dir da, a bydd yn fuan yn nghanol sefydliad helaeth; a bwriadaf wneyd fy ngoreu i gael sefydliad da o Gymry yma, a hyny yn ddigon buan iddynt allu prynu am y pris cyntaf gan y diriogaeth. Daw llawer yma o'r hen Dalaethau, am fod y tir yn frasach, ac yn fwy cynyrchiol. Pris y tir gan y llywodraeth yma ydyw o ddau swllt i goron yr erw, a lle mae corsydd ar dir ceir hwn yn rhatach. Pan ddaw y tir-fesurwyr a anfonir i fesur y tir gan y llywodraeth i gors, rhoddant ddarn o dir yn y fan hono dan yr enw 'tir corsiog,'ac yn aml ni bydd ond ychydig erwau o hono yn gorsiog.

"Yn fy llythyr nesaf atoch bwriadaf ofyn eich cydsyniad â mi i gymeryd y cam pwysicaf yn ei ganlyniadau a roddais er pan gerddais y camrau cyntaf yn eich llaw ar yr aelwyd. Mi goeliaf eich bod yn gwybod am y garwriaeth sydd wedi ac yn bod rhwng Gaenor Lewis a minau; a hefyd gofynaf eich caniatad i aros yn y wlad am ryw dymor. Mae yn gysur mawr i fy meddwl heddyw, er yn mhell oddiwrthych, ac yn mhlith dyeithriaid, fod fy meddwl yn cael ei dueddu i ymgyngori â chwi yn fy holl symud-

iadau. Mae yn hyfrydwch i mi gael bod yn ddarostyngedig i chwi, ac yr wyf yn dyfod i werthfawrogi eich addysg a'ch hyfforddiant fwy fwy fel yr wyf yn dod i'w sylweddoli yn fy mhrofiad a helyntion gyrfa bywyd. Ac yn wir, yn wir, teimlaf awydd o'r newydd i ddiolch i chwi am eich llafurus gariad a'ch gofal gyda'ch plant pan oeddynt yn eich dwylaw ar yr aelwyd yn derbyn eich addysg, eich cyngorion a'ch esiamplau anmhrisiadwy; ac y mae fy meddwl yna gyda chwi beunydd. Derbyniodd Gaenor Lewis lythyrau Ellen ac Ann. Aeth fy llythyr yn faith, anhawdd rhoi yr ysgrifell o'm llaw. Yr eiddoch yn serchus, eich mab,

DAFYDD MORGAN.

Derbyniodd Dafydd y llythyr canlynol oddicartref yn atebiad i'r llythyr uchod:

Trefnusfaes, Tachwedd 2, 1839.

Ein Hanwyl Fab Dafydd: Derbyniasom dy lythyr a ddyddiwyd yna Mehefin 10fed y flwyddyn hon, yr hwn a'n cysurodd yn fawr, pan ddeallasom dy fod yn iach. Mae yn dda genym allu dy hysbysu ein bod ninau felly oll gartref. ac mae ein rhwymau yn aml i gydnabod y Rhoddwr haelionus i ni. * * * Mae dy lyth-

yr wedi enyn llawenydd ynom, er yr awgrymi am aros yna am dymor, ond y mae dy fod yn gofyn ein cydsyniad a'n caniatad i ti gyda dy symudiadau a'th anturiaethau yna, yn fforddio llawer o gysur i ni, am y gwelwn dy fod yn glynu ar y ffordd y cawsom y fraint o'th gychwyn arni ar yr aelwyd yma; mae hyn yn gysur annhraethol i dy fam a minau pan y mae henaint a phenllwydni yn ein gorddiwes. Mae genym yr ymddiried llwyraf yn dy farn di dy hun gyda'r symudiadau a enwaist; ac yn dy holl ffyrdd cydnebydd ein Tad nefol, ac efe a hyfforddia dy lwybrau. Yr ydym ni, er yn chwith ein teimladau, yn rhoddi i ti ein cydsyniad llwyraf, a Duw a'th fendithio. Dy dad a'th fam,

GOMER A MYFANWY MORGAN.

## PENNOD XV.

**DAFYDD MORGAN YN PRYNU FFERAM A CHODI TY—EI BRIODAS GYDA GAENOR LEWIS.**

---

YN gynar yn y flwyddyn 1840, wyth mlynedd cyn i diriogaeth Wisconsin gael ei gwneyd yn Dalaeth o'r Undeb, prynodd Dafydd Morgan ddarn o dir 1280 erw, sef dau Section—tua 350 o hono dan goed, a'r oll o'r tir rhwng y ddwy afon, Fox a Wisconsin. Am ei fod ei hun yn dirfesurydd da, ac yn wr ieuanc craffus a gofalus, dewisodd fan penodol ar ei dir i adeiladu cartref arno. Yr oedd ei hen gymydog Caradog Lewis wedi bod gyda Dafydd dros y tir bob erw o hono cyn iddo ei brynu. Tynodd gynllun o'r holl adeiladau a fwriadai eu cyfodi ar ei dir ar y pryd; a chyflogodd gymynwyr coed a rhai cyfarwydd i'w cymwyso; canys yr oedd yr holl adeiladau i'w gwneyd o gyffion oddiar ei dir ef ei hun, wedi eu naddu yn ysgwar a llyfn i ffitio ar eu gilydd yn gymwys, a'u conglau i gydio yn eu gilydd ar gynllun cynffon colomen. Arolygid yr oll gan ein harwr, a byddai gyda'i

weithwyr bob dydd, a thalai iddynt yn fisol tra y buont yn gweithio, yn aur bob amser. Rhoddwyd y gwaith goreu ar y cwbl. Un ddamwain neu anhap a ddygwyddodd. Syrthiodd un o'r gweithwyr oddiar fur yr ysgubor, a thorodd ei fraich. Yr oedd Dafydd Morgan yn y fan ar yr adeg, a chan nad oedd meddyg yn agos gwnaeth ein harwr waith meddyg ar asgwrn braich y dyn, a gwellhaodd. Bu y dyn oddiwrth ei waith am dair wythnos, ond ar ddydd tal cafodd ei gyflog yn llawn fel y lleill. Yr oedd pawb trwy y sefydliad wrthi yn ddiwyd—rhai yn clirio eu tyddynod ac aredig; eraill yn cymynu coed, a'r lleill yn cyfodi tai ac ysguboriau. Yn eu plith gwelid un dyn yn brysur gydag un ych yn tynu cyffion at gyfodi iddo ei hun dy, a neb ganddo i'w gynorthwyo, a phan oedd ar ganol cludo ei gyffion syrthiodd coeden ar draws cefn ei ych, a lladdodd ef yn y fan; fel y bu orfod ar y dyn druan, tlawd, roddi i fyny adeiladu ei dy. Pan glywodd Dafydd Morgan am y peth, anfonodd ddyn a dau o'i ychain oddiwrth eu gwaith i gludo cyffion y dyn hwnw allan o'r coed at ei dy. Ar ol darfod aeth y dyn at Dafydd Morgan i ofyn faint oedd arno ef iddo am ei wasanaeth, a'i ateb oedd, mai nid cyflogi ei ychain yr oedd,

ei fod yn rhy brysur i hyny, ac nad oedd arno ddim iddo; gwyddai ef y gwnaethai yntau yr un peth pe yn ei sefyllfa. "Wel, wn i ddim wir a wnaethwn ai peidio; ond mi wn y gwnaf o hyn allan, os byth y caf gyfleusdra," dywedodd y dyn. Gorphenwyd yr holl adeiladau, ac y maent yn aros hyd heddyw, ac mewn cyflwr pur dda.

Wedi i'r ty gael ei roddi mewn tipyn o drefn, gwahoddodd Dafydd Morgan yr oll o'r sefydlwyr i ddyfod yno i weled ei dy newydd, a llanwyd y ty, a chafwyd cyfarfod gweddi yno gyda'u gilydd fel cymydogion; ac ar y diwedd sefydlwyd Ysgol Sabbothol i fod yno bob Sul, am ddau o'r gloch yn y prydnawn. Yno y bu yr arch yn cael ei chadw hyd nes y cyfodwyd capel yn y sefydliad; a bu y to cyntaf o bregethwyr Wisconsin yno yn pregethu lawer gwaith. Sonir yn aml hyd y dydd hwn gan hyny sydd yn aros o'r hen sefydlwyr, am yr amser dedwydd a gaed yn moddion gras yn Trefnusfaes; canys dyna y galwodd ein harwr ei dy newydd yn Wisconsin, ac felly yr adwaenir y tyddyn trefnus hwn trwy yr holl Dalaeth.

Anfonai yn rheolaidd at ei dad a'i fam am ei holl symudiadau. Un prydnawn, yn nhy Car-

adog Lewis, yr oedd Dafydd Morgan a Caradog Lewis a'i briod yn ymgomio a'u gilydd, pryd y dywedodd Dafydd Morgan fod ganddo gwestiwn i'w ofyn i'r ddau. "Beth ydi hwnw, Dafydd bach?" gofynodd Caradog Lewis. "A rowch chwi Gaenor yn wraig i mi?" Edrychai y ddau hen bererin y naill ar y llall yn foddhaol. "A chroesaw, Dafydd Morgan," dywedodd y ddau; "ond nid oes genym fawr i'w roi gyda hi." "Y cwbl wyf fi yn ei ofyn ydyw person Gaenor," dywedodd yntau; "ni feddyliais am ddim arall. Mae genyf fi dipyn at ddechreu byw, ac os cawn iechyd gwnawn ychwaneg atynt. Yr ydym yn caru ein gilydd, a dyna ydyw hanfod yr undeb priodasol, fel y gwyddoch yn dda. Diolchaf i chwi am eich ewyllys da, a'ch rhodd. Yr wyf wedi derbyn cydsyniad fy rhieni."

Mae Dafydd Morgan yn awr yn 27 mlwydd oed, a Gaenor Lewis yn 25 mlwydd oed. Bu y parotoadau at y briodas yn syml. Aeth Dafydd i Milwaukee, ac yno deallodd fod y Cymry yn dysgwyl gweinidog i bregethu iddynt, ac aros yn y dref am ychydig; a'r noson hono yn hwyr daeth llong i'r porthladd, a'r gweinidog a ddysgwylid ar ei bwrdd o Racine. Bore dranoeth galwodd Dafydd Morgan yn y ty lle yr arosai

y gweinidog, ac arweiniwyd ef i'r ystafell at y gwr parchedig, a dywedwyd eu henwau y naill i'r llall. Enw y gweinidog oedd Evan Roberts. Hysbysodd y gwr ieuanc ei neges wrtho yn ddigwmpas, a gofynodd iddo a allasai ef ddyfod allan i'r sefydliad i gyflawni y gwasanaeth; y byddai yn dda gan bawb yno ei weled a'i glywed yn pregethu—nad oeddynt wedi cael pregeth yn y lle, ond eu bod yn cynal cyfarfodydd gweddio ac Ysgol Sabbothol yn un o'r tai yn y lle. Dywedodd y gweinidog y deuai yno yr wythnos gyntaf yn Mehefin, ar yr amod i rywun ddyfod i'w gyfarfod, am nad ydoedd ef yn gyfarwydd a'r wlad, ac nad oedd ond amser byr er pan y daethai i Racine. Dywedodd Dafydd Morgan y deuai ef i'w gyfarfod i Milwaukee, ond iddo enwi y dydd. Aeth Roberts i geisio dyddiadur oedd ganddo, ac wedi ei edrych dywedodd y byddai yn Milwaukee yr ail ddydd o Mehefin. Cyfarfyddwyd ef felly, a daeth i'r sefydliad erbyn y chweched dydd o'r un mis; a chan mai dydd Sabboth oedd y dydd hwnw, pregethodd y Parch. Evan Roberts yn y boreu am ddeg, a chaed Ysgol Sabbothol am ddau, a phregeth am chwech yn yr hwyr, a seiat ar ol. Sefydlwyd yno eglwys hefyd, sydd

yn aros yn yr ardal hyd yr awr hon. Rhyfeddai y gweinidog wedi dyfod i'r sefydliad gyda y llanc gwylaidd Dafydd Morgan, mai efe oedd y dyn blaenaf yn y sefydliad; ei fod yn flaenor eglwysig yn yr Hen Wlad, ac mai ei dy ef oedd y capel; ei fod yn ynad heddwch, ac wedi prynu 1,280 erw o dir, a thalu am dano, yn nghyd a'r holl adeiladau a'r anifeiliaid. Trwy fod Caradog Lewis a Dafydd Morgan yn ddiaconiaid rheolaidd yn Nghymru, galwodd yr eglwys ieuanc yn Trefnusfaes arnynt i'w gwasanaeth, ac â hyny y cydsyniodd y ddau, ac mae ein harwr yn y swydd heddyw.

Yn nghartref Gaenor Lewis, unwyd Dafydd Morgan a hithau mewn glan briodas ar brydnawn yr 8fed o Mehefin, 1841. Fel y daeth ein harwr i wybod ar ol hyny, priodwyd ef ar yr un dydd ag y bu farw yr anfarwol John Elias o Fon; a gwnaeth y ddau amgylchiad argraff arbenig ar ei feddwl am y gweddill o'i oes. Priodwyd y par dedwydd ar brydnawn hyfryd dydd Mawrth fel uchod; ac ar y dydd Mercher canlynol cafwyd gwyl trwy yr holl sefydliad. Yr oedd gwledd hefyd wedi ei darparu yn Trefnusfaes, a gwahoddiad wedi ei roddi i'r sefydlwyr oll i fod yno, fel y cafwyd dydd o lawenydd cyff-

redinol, am mai hon oedd y briodas gyntaf yn yr ardal anghysbell hono.

Yr oedd y bwrdd wedi ei hulio yn chwaethus â danteithion breision y prairie, ac erbyn haner dydd llanwyd y ty newydd. Daeth yno lawer o bellder mawr, ac yr oeddynt oll wedi parotoi rhyw fath o anrhegion bychain o wneuthuriad cartref—yr oll o honynt yn bethau plaen a gynyrchwyd ar y prairie. Yr oedd bwrdd helaeth wedi ei wneuthur o astellod, a'i osod yn yr ysgubor yn llawn o'r anrhegion hyn, ac ar ol cydwledda yn y ty aeth yr oll o honynt i'r ysgubor fawr oedd wedi ei pharotoi fel neuadd gogyfer a'r amgylchiad. Wedi edrych yr anrhegion, a'u hedmygu, a gweled enwau y gwneuthurwyr arnynt, rhyfeddent at gywreinrwydd llawer o'r anrhegion cartrefol hyn; ond yr un a dynodd fwyaf o sylw pawb oedd cryd, ac enw ei wneuthurwr arno wedi ei brintio mewn llythyrenau breision ar risgl bedw: "Dafydd Llwyd." Yr oedd pawb trwy y sefydliad yn adnabod yr hen lanc Dafydd Llwyd, a galwyd arno i roddi anerchiad ar yr achlysur. Gwrthodai yr hen lanc ar un cyfrif; ond aeth dau lanc heinif ato, ac ymaflasant ynddo, a rhoddasant ef i sefyll ar ei draed ar foncyff mawr o bren o flaen llon'l ys-

gubor o wrandawyr, a phawb yn galw am anerchiad, gan guro eu dwylaw, ac ni fynent eu gwrthod. Ymddangosai Dafydd Llwyd yn bur yswil, a'i wyneb yn goch fel gwaed, a golwg lled gethin arno o'i goryn i'w sawdl. Gwisgai got o lian a allasai fod yn wen, a hono wedi ei chau, ac yn llaes hyd at benau ei liniau; clos penglin o felfat melyn, a 'sanau cotwm duon; esgidiau a gwadnau tewion yn llawn o hoelion, gyda phedolau o haiarn dan eu sawdlau, a chlemiau o'r un defnydd dan eu blaenau; llygaid croes, a'i amrantau yn gochion, trwyn crwbi, a gên go hir. Ymaflodd yn llabat ei got, a chyfododd y llabat at ei wyneb i sychu y chwys, a dywedodd mewn llais crynedig: "Fedrai ddim reithio wir gymdogion, ond mau yn dda gynddeiriog gin i welad Dafydd Morgan wedi priodi cin myn'd yn hen lanc fel fi; a gwelad Gaunor Lewis wedi priodi cyn mund yn hen ferch, ond ran hynu dauthai hi byth yn hen ferch; chywsai hi buth fund yn hen ferch, achos mi wn i am lawar yma heblaw fi wedi gwirioni am dani hi, achos mau hi yn hogan mor glws a chlen."

Curwyd traed a dwylaw nes oedd yr ysgubor yn siglo fel cryd. "Rhoswch chi, dydwi ddim wedi darfod eto; mau arnaf fi eisio deud tipyn

wrth yr hogiau yma. Hogiau, gofalwch chi am briodi cyn mynd yn ddeg ar hugain oud. Dyna y peth gwiriona a nes i yn mywyd; a'r ffordd yr eis i yn hen lanc oudd i mi garu llawer o genod yn y meddwl, ond ofn deud wrthun nw, nes yr äi rhywun arall a nhw dan y nhrwyn i o hud. Mi fum yn meddwl fod genod yn fy licio inau, achos mi fyddan yn chwerthin ac yn wincian arnaf yn aml, ond ddaru yr un ddeyd wrthaf, achos dydi ddim yn ffasiwn i hynu, ond ar flwyddun naid. Daeth un ataf ar yr amser hwnw er ys talwm, a deudodd ei bod hi yn ngaru fi o'i chalon, ond hen ferch odd hi, ac yn un hull ofnadwy, ac yr own i yn i gwelad hi yn bowld gynddeiriog deud fellu wrtha i. Ron i yn teimlo fel tasa hi wedi taflu llon'd crwc o ddwr our am y mhen i. Am y cryd yna neis i i Dafydd Morgan a Gaenor Lewis, mi rydw i yn gobeithio y can nhw lawer o blant, achos ma nhw yn rhai da iawn i fagu plant a'u dysgu nhw fel y dylai pob tad a mam neud hefo eu plant."

Neidiodd Dafydd Llwyd i lawr yn chwys dyferol, a'r ysgubor yn ferw gwyllt, a luchiai rhai eu hetiau i fyny, a rhoddwyd cymeradwy-aeth frwdfrydig iddo. Cafwyd gair gan amryw

ar ol tawelu, ond at araeth Dafydd Llwyd yr oedd pob un yn cyfeirio. Ar y diwedd rhoddodd y Parch. Evan Roberts air o gyngor, a dywedodd wrth derfynu mai dydd o lawenydd oedd y dydd trwy yr ardal; a bod yn dda ganddo eu gweled oll yn llawen, ac yn ymddwyn mor weddaidd Yr oedd yn dda iawn ganddo nad oedd dim o'r diodydd syfrdanol yn dyfod i'r sefydliad; a gobeithiai y byddai y bobl ieuainc yn dal ar gyngor Dafydd Llwyd iddynt, ac y caffai efe alwad yno eto mewn canlyniad i'w anogaethau!

Ymwasgarodd y cwmni yn llawen, a phob un yn dymuno llwyddiant y par ieuanc dedwydd; a hon oedd y briodas gyntaf yn y sefydliad sydd erbyn hyn yn un o'r sefydliadau harddaf a chyfoethocaf ei ffermydd ffrwythlawn, llawnaf ei ysgolion dyddiol, a chapelydd, yn Sir Columbus, Wisconsin.

## PENNOD XVI.

**DECHREU CADW TY—PRIODAS, GENEDIGAETH A MARWOLAETH.**

---

AETH Dafydd Morgan a'i briod i Milwaukee, yn lled fuan, a phrynasant ddau lwyth pedrolfen o ddodrefn cymwys i'r ty cyffion i'w ddodrefnu yn gyfforddus, yr oll yn ddodrefn plaen, cryfion a da. Pan oeddynt ar gychwyn o'r ty gofynodd mam Gaenor iddi a wnai hi edrych pan yn y dref, a allasai hi gael troell iddi hi; fod arni hi hiraeth yn ei chalon am yr hen droell. Yn y dref holodd y ddau am droell i'w mam, a dywedwyd wrthynt fod yno Gymro yn gwneyd pob math o bethau o'r fath, a'i fod yn gwneyd llestri llaeth. Wedi dod o hyd iddo mewn lle go ddinod yn y dref lle y cadwai weithdy, holwyd ef am droell, a dywedai fod ganddo un newydd ei gorphen yn y llofft. Pan awd i fyny i'r llofft gwelent fod ganddo bob math o lestri llaeth, a phrynasant bob peth oedd arnynt eisieu at y llaethdy ganddo, ond print ymenyn; dywedai iddo werthu yr olaf a wnaeth y boreu hwnw, ond y gwnai ef un iddynt â llun eryr

arno, i'w roi ar yr ymenyn. Pan yn prynu y droell, dywedai y gwarantai ef hi na thaflai ei llinyn, dyna oedd y gamp hefo troell. Erbyn hyn aed i son am Gymru, a dywedai ef ei fod yn byw yn Mhenmorfa, a bod o ac Owen Williams, Waunfawr, wedi bod yn cyd-ddysgu eu crefft cwpar hefo eu gilydd. Cafodd y cwpar Cymreig hwn lawer o waith o'r sefydliadau yn Wisconsin a lleoedd eraill i wneyd corddwrs a llestri llaeth eraill.

Pan ddychwelasant gartref, ar ol bod yn Milwaukee am bythefnos, yr oedd Dafydd ac Owen Lewis yno gyda hwynt yn prynu ceffylau at weithio. Yr oedd Cathrin Lewis yn falch iawn o'r droell, os oedd hi wedi ei gwneyd fel na thaflai ei llinyn, fel y byddai Owen, cwpar y Waunfawr, yn eu gwneyd hwy. "Wel, mam," dywedai Gaenor, "dywedodd y dyn wrthym ei bod hi felly, a'i fod ef wedi cyd-ddysgu ei grefft hefo Owen Williams y cwpar." "Yr oedd Owen Williams, y bardd, yn well am wneyd troell na thaflai ei llinyn na neb yn yr ardaloedd acw," dywedai Cathrin.

Nid oedd fawr i wythnos yn myned heibio nad oedd dyeithriaid yn dyfod i'r sefydliad i chwilio am dir, sefydlu a gwneyd cartrefi, ac at

Dafydd Morgan y byddai pawb yn myned i holi am y lleoedd goreu iddynt. Fel hyn, cedwid ef yn brysur yn cynorthwyo cael y gweithredoedd a'r title yn briodol, a gwnai ef y gweithredoedd ei hun yn aml, heb feddwl am godi dim am ei drafferth, er y mynai llawer dalu iddo. Bu dylifiad ymfudwyr i'r diriogaeth y blynyddau hyn cyn ei gwneyd yn Dalaeth, a hyny o'r gwahanol Dalaethau a gwledydd tramor, yn benaf o Germani, ac mae yr Ellmynwyr y dosbarth goreu o amaethwyr yn y wlad, lle bynag eu gwelir. Pan y deuent i'r wlad, cymerent eu hamser i chwilio am y lleoedd mwyaf manteisiol, ac wedi iddynt unwaith sefydlu nid yw 'yn hawdd eu symud—arosant yn yr un man; a diwylliant eu tiroedd yn drwyadl. Maent yn wahanol iawn i'r Americanwr yn hyn. Os caiff yr Ianci gynyg tipyn mwy am ei le nag a dalodd, gwertha ar unwaith, a ffwrdd ag ef yn mhellach i'r West! Siaredid ac ysgrifenid llawer y blynyddau hyn am i'r diriogaeth gael ei gwneyd yn Dalaeth, a'i derbyn i'r Undeb; ond ni chafodd ei derbyn i'r Undeb hyd y flwyddyn 1848.

Boreu yr 21ain o Gorphenaf, 1842, ganed i Dafydd Morgan a'i briod eu cyntafanedig,

merch, a chafodd ei mam ei dymuniad yn hyn; ac yr oedd y tad yr un mor foddhaol. Cawsant blentyn iach a dianaf; a diolchai y rhieni dedwydd am y rhodd werthfawr, gan gyflwyno yr un fechan i'r Hwn a'i rhoes, yn nghyd a thaer erfyniadau am gymorth i'w meithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Bu i ddyfodiad y baban egwan i'r byd agor ystafelloedd oeddynt hyd yn hyn yn gloedig yn y galon; bolltiodd yr un fechan hon hwynt, ac aeth i mewn iddynt, a dechreuodd eu dodrefnu, gan roddi enw ar yr ystafelloedd. Galwodd un yn fam, y llall yn dad, a'r rhelyw yn daid, nain, ewythr a modryb. Ymdeimlai Mrs. Morgan a'i chysylltiadau newydd fel mam, ac yntau fel tad; a chlywent lais yn y cyflwyniant iddynt, "Mag ef i mi." Ymwregysasant at eu dyledswyddau pwysig fel athrawon i gyfranu addysg briodol ar eu haelwyd, yn ystyriol ddifrifol o ganlyniadau tragwyddol eu haddysg a'u hesiamplau. Anfonodd Dafydd Morgan lythyr at ei dad a'i fam a'r teulu am enedigaeth eu cyntafanedig, a'u perthynas newydd yn y byd, sef eu gwneyd yn daid a nain, ewyrth a modryb, a bu lawen ganddynt oll gartref am y newydd.

Aeth y newydd trwy y sefydliad yn gyflym am

yr ymwelydd ieuanc ddaeth i Trefnusfaes. Pan glywodd yr hen lanc Dafydd Llwyd am hyn, aeth rhag ei flaen i'r tyddyn uchod; canys yr oedd wedi bod wrthi yn gwneyd tegan er pan y deallodd fod dysgwyliad am ymwelydd o'r fath i'r teulu. Pan oedd yr hen lanc yn gweithio un adeg ar ei fferam, yn agos i un o'r mounds sydd mor gyffredin trwy y Dalaeth, daeth o hyd i ryw fath o gregin dysglaer, ac â'i gyllell gosododd y cregin hyn mewn pren wedi ei naddu yn gywrain. Yr oedd y cregin yn rhyddion, ac yn tincian, a'u lliw dysglaer fel diamwnt yn llachar anghyffredin, yn swynol i'r glust a'r llygaid, a gwir hudolus.

Pan aeth i'r ty cyfarfuwyd ef gan dad y baban, oedd erbyn hyn yn dair wythnos oed, pryd y dywedodd yn ei ddull naturiol ef: "Yr ydw i wedi dwad yma heiddiw i ddweyd lwc dda i chwi Dafydd Morgan wedi i chi gaul hogan bach, fel y clywais. Dyna ddechra dwad o gwmpas y peth a ddymunas i yn yr ysgubor diwrnod ar ol eich priodas." Ar hyny daeth Mrs. Morgan i'r ystafell, a'r babi yn ei breichiau, a dangosodd ei chyntafanedig i Dafydd Llwyd, yr hwn wedi syllu arni a ddywedodd, "Mau hi yr un ffunud yn inion a'i thad a'i mam. Yr ydw i wedi gneud

tegan bach hefo nghyllath iddi chwara hefo fo, pan ddaw hi yn ddigon o faint;" a rhoddodd y tegan i'r fam. Diolchodd y ddau iddo am ei bresant cywrain, a bu gyda'r teulu yn ciniawa.

Rhoddwyd enw ei hen nain ar yr eneth bach—Gwenllian; a phan ddaeth y Parch. Evan Roberts i'r ardal bedyddiwyd y plentyn. Yr oedd Caradog a Cathrin Lewis yn falch dros ben o'u hwyres bach. Yn lled fuan ar ol hyn cymerwyd Dafydd Llwyd yn bur wael. Byw ei hunan yr oedd mewn caban bach cryno, o'i waith ei hun, bob cyff o hono. Aeth Dafydd Morgan a Caradog Lewis, a chymydog arall, i alw ar yr hen lanc pan oedd yn bur wael. Wedi tipyn o ymddyddan, yn bur swta gofynodd Dafydd Llwyd i Dafydd Morgan a wnai ef dipyn o wllus iddo; na wyddai ef beth a ddeuai o hono; na fuo fo rod yn sal i galon fel yr odd o rwan. Dywedodd Dafydd Morgan y deuai ef yno dranoeth i edrych am dano, ac y deuai ef a phapyr ac inc gydag ef, i wneyd ei ewyllys, gan ychwanegu mai peth doeth yn mhawb oedd gwneyd ei ewyllys—nad oedd hyny yn byrhau oes neb, a'i fod yn aml yn rhagflaenu llawer o flinderau, &c.

Fel y soniwyd o'r blaen, yr oedd Dafydd Mor-

gan yn Ynad Heddwch yn y rhanbarth hwnw. Dranoeth aeth ef a dau o'r cymydogion i weled Dafydd Llwyd, ac yr oedd meddyg ar ymweliad a'r ardal o Portage, gwr oedd feddyg perthynol i Fur Co., yn y lle uchod. Pan aethant i'r caban gwelent ei fod yn bur isel, a deallodd y meddyg ei sefyllfa yn y fan. Ysgydwodd ei ben ar Dafydd Morgan, a rhoddodd ychydig bowdra ar fwrdd wrth ei wely, gan ddweyd wrtho am eu cymeryd mewn dwfr oer. Aeth allan, a dywedodd Dafydd Morgan wrtho sut i gymeryd y powdra, ond ni fynai Dafydd Llwyd ddim o'i ffisig o; yr oedd ganddo ddiod ddail a wnaeth ei hun, a chredai fod hono yn well na dim iddo. Aeth y meddyg am dro trwy y cae gerllaw, a phan ddychwelodd galwodd ar Dafydd Mórgan i'r drws, a dywedodd wrtho na byddai y dyn fyw ond pur ychydig, fod enyniad yr ysgyfaint yn ddrwg iawn arno, ac os oedd ganddo ryw beth i'w ddweyd am ei amgylchiadau, taw goreu po gyntaf iddo fyned ati i wneyd hyny. Gwnaed ei ewyllys, a rhoddodd groes, yr hwn a arwyddwyd gan y cymydogion a'r meddyg fel tystion. Yn ei ewyllys rhoddodd bob peth oedd ganddo i chwaer iddo yn agos i'r Bala, G. C. Ar ol darfod hyn ceisiodd gyfodi ei law, a gwnaeth hyny trwy gryn ymdrech. Estynodd ei gyllell—ei

drysor penaf, a rhoddodd hi i Dafydd Morgan, gan ofyn iddo ei chadw i gofio am dano. Ar hyny daeth y meddyg ato, ac ymaflodd yn ei law, a dywedodd, "He is dying;" ond ni wyddai neb ond Dafydd Morgan beth a ddywedodd. Y fynyd nesaf sylwodd y cymydogion fod ei wyneb yn cael ei newid, ac yntau yn cael ei anfon i ffordd yr holl ddaear. Fel hyn, bu yr hen lanc diniwed farw yn dawel. Gwnaed arch iddo gan saer a weithiai i Dafydd Morgan, a chafodd gynhebrwng taclus. Aeth yr oll a allai trwy y sefydliad i'r angladd, canys hwn oedd y cynhebrwng cyntaf; ac erbyn hyn dyma dri dygwyddiad cyffredin dynolryw o'r dechreuad wedi cymeryd lle yn y sefydliad—priodas, genedigaeth a marwolaeth. Cyn cychwyn o'r ty darllenodd Dafydd Morgan ranau pwrpasol o'r Beibl, a gweddiodd Caradog Lewis. Wrth y bedd unig dywedodd Dafydd Morgan ychydig yn hynod o effeithiol, gan syllu i'r bedd, ond pan yn dybenu ymdrechodd godi ei olygon, a dywedodd, "Gwelsom gladdu llawer yn ngwlad ein tadau, Cymru anwyl; a dywedwyd wrthym yno, mai y genadwri at y byw oedd, 'Am hyny byddwch chwithau barod.' Fy nghymydogion anwyl, mae yr un genadwri wedi dyfod hefo ni i'r America, am hyny byddwn ninau barod."

## PENNOD XVII.

**DAFYDD MORGAN YN EI GYSYLLTIADAU GWLEIDYDDOL A CHYMDEITHASOL—EFE A GAENOR YN DIRF YN EU HENAINT**

---

YR ydym yn y penodau blaenorol wedi gweled natur a dylanwadau daionus addysg aelwyd Trefnusfaes yn Nghymru am ddwy genedlaeth; a sylwi yn lled fanwl ar ein harwr, y drydedd genedlaeth o'r teulu nodedig, hyd i oedran gwr yno; ei weled yn cefnu ar yr aelwyd ei magwyd ac ei haddysgwyd arni gyda y fath ddyfalwch, ac yn dyfod i America a sefydlu yn nhiriogaeth gyfoethog Wisconsin; yn cymeryd iddo ei hun gydmar ei fywyd, ac yn gwneyd iddo ei hun a'i briod hawddgar, aelwyd glyd; ei sefyllfa barchus, ei ddefnyddioldeb gwerthfawr, ei rodiad hardd, a'i dduwioldeb amlwg; a'r oll yn ganlyniadau effeithiau addysg a hyfforddiant aelwydydd ei henafiaid dan fendith Duw. Gwelwn ef yn dechreu ar y dasg bwysfawr o gyfodi iddo ei hun deulu. Dyma ei gyntafanedig ar ei aelwyd yn nwylaw ei fam dyner. Mae ein harwr "fel pren a blanwyd ar lan afonydd

dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa, a pha beth bynag a wnel, efe a lwydda." Buom yn dystion o weled gofalon am y pren hwn yn cael eu bwrw ar wyneb dyfroedd addysg aelwydydd ei henafiaid, a syllu arno yn blaendarddu a thyfu, a gwelwyd ef yn ymddadwreiddio o'r tir lle y tyfodd, ac yn gwreiddio mewn tir dyeithr; yn blaguro yn add-awol, a'r symudiad ddim yn profi iddo ef yn farwolaeth nac yn wywder i'r graddau lleiaf, fel y gwelwyd trawsblaniad o'r fath yn effeithio. Bellach, ni a gawn edrych ar y pren yn crynhoi ac yn anfon allan ei gangenau, a'i ddail yn ymagor; ei flodau yn ymddangos, a'i ffrwyth yn tyfu, ac addfedu, yn nghyd a'i gysgod cyraeddfawr trwy wahanol dymorau.

Er mantais i weled Dafydd Morgan yn ei gysylltiadau gwleidyddol, priodol fyddai i ni gymeryd cipolwg frysiog, yn yr hanes hwn, ar helyntion yr amseroedd yn y diriogaeth y cartrefai. Pan y mae rhandir yn cael ei neillduo yn diriogaeth, dyna ydyw y cam cyntaf tuag at i'r rhanbarth ddyfod yn Dalaeth. Hyn a wnaed a rhandir mawr Wisconsin gan y llywodraeth, yn y flwyddyn 1836. Penodir tri prif swyddog tiriogaeth gan yr Arlywydd, sef y Llywodraethwr,

yr Ysgrifenydd, a'r Prif Farnydd, a'r gweddill o swyddogion tiriogaeth a etholir fel yr etholir swyddogion tebyg yn y Talaethau Unedig. Bu Wisconsin yn y cyflwr o diriogaeth am ddeuddeg mlynedd, ac felly bu ein harwr yn byw ynddi am ddeng mlynedd cyn iddi ddyfod yn Dalaeth o'r Undeb. Yn flaenorol i ffurfiad y rhandir eang hwn yn diriogaeth, nid oedd ynddo ddim math o amaethu yn werth son am dano; y cwbl a wneid yma oedd masnachu ychydig mewn crwyn, a man-flew, a chloddio allan blwm oedd ac y sydd yn helaeth yn ei daear. Eithr ar ol ei ffurfio yn diriogaeth dechreuwyd ei phoblogi yn gyflym gan ymfudwyr; ac erbyn y flwyddyn 1840 yr oedd rhifedi ei phoblogaeth yn 30,945—wedi mwy na dyblu mewn pedair blynedd. Awst 9, 1846, awdurdodwyd tiriogaeth Wisconsin gan y Gydgyngorfa gyffredinol i ymffurfio yn llywodraeth Dalaethol, a thynwyd allan ffurf o'i chyfansoddiad yn yr un flwyddyn; ond gwrthodwyd ef gan y bobl, a bu raid myned at y gorchwyl o'i ail lunio, a hyny a wnaed, a derbyniwyd ef gan y bobl yr ail dro. Ar y 29ain o Mai, 1848, derbyniwyd Wisconsin yn Dalaeth o'r Undeb. Bu yn amser terfysglyd trwy y diriogaeth o ben i ben, yn y blynyddau

hyn, cyn ei derbyniad; ac yr oedd dylanwad doethineb, pwyll a synwyr cryf Dafydd Morgan yn olew ar ddyfroedd terfysglyd politicaidd rhanau helaeth o'r diriogaeth.

Henry Dodge a etholwyd yn Llywodraethwr y Dalaeth newydd am y tymor cyntaf, ac etholwyd Dafydd Morgan gan ei ranbarth i'w chynrychioli yn ei deddf-wneuthurfa newydd. Un o'r cwestiynau a gynyrfai y Dalaeth newydd ar ddechreuad ei gweithrediadau gwleidyddol, oedd pris ei thir. Mynai un blaid boliticaidd mai y peth goreu er llesiant cyffredinol a chynydd cyflym y Dalaeth ydoedd gwerthu y tir cyhoeddus yn rhad, fel cymelliad i ymfudwyr i'r Dalaeth, ond mynai plaid arall wrthwynebu hyny yn ystyfnig. Yr oedd ein harwr o blaid tir rhad, a'r blaid y perthynai ef iddi a orfu; a bu ganddo ef law gref yn ei ddygiad i fuddugoliaeth. Effeithiodd hyn er cynydd a llwyddiant digyffelyb trwy y Dalaeth—dylifai ymfudwyr iddi o bob rhan o'r byd o'r bron, fel erbyn y flwyddyn 1850, dwy flynedd o'i hoedran Talaethol, yr oedd rhifedi ei phoblogaeth yn 305,391. Mae gan bob Talaeth ei sêl, ac ar bob sêl rhoddir arwyddeiriau trwy y rhai yr amcenir gosod allan nodweddion y Dalaeth, &c. Un o

arwyddeiriau Talaeth fawr Wisconsin ydyw "Yn Mlaen" (*Forward*); a bu gan ein harwr law yn ffurfiad sêl ei Dalaeth fabwysiedig, oblegid dyna oedd un o nodweddion bywyd Dafydd Morgan gyda phob peth yr ymaflai ynddo—"yn mlaen." Etifeddodd y rhagoriaeth neillduol yna, a thynwyd hi allan, a dadblygwyd hi trwy addysg aelwyd ei henafiaid, ac ymarferai hi yn ddyddiol ar ei aelwyd ei hun, yn ogystal ag yn ei holl gysylltiadau crefyddol a bydol.

Pan y dechreuodd Dafydd Morgan a'i briod gadw ty eu hunain yn Trefnusfaes, Wisconsin, dechreuwyd ar yr un adeg gyda rheolau eu cartref. Yr oedd y ddyledswydd deuluaidd i'w chynal yno ddwywaith y dydd, trwy ddarllen rhanau o'r Beibl a gweddio, a chanu yn achlysurol. Yr oedd y Sabboth i gael ei gadw yn sanctaidd; ac nid oedd dim gwaith i'w wneuthur yn y ty nac ar y tyddyn, ag y gallesid ei wneuthur ar ddyddiau eraill. Deallid hyn gan bawb a'i gwasanaethai ef a'i briod; ac yr oedd y sefydliad trwyddo yn parchu y Sabboth i raddau dymunol. Nid gwiw oedd gan neb ddyfod i'r sefydliad gan feddwl gallu gwneyd un math o fasnach fydol ar ddydd yr Arglwydd; ac er y byddai llawer iawn o alw am wasanaeth Dafydd

Morgan trwy gylch helaeth o'r Sir, ni feiddiai neb fyned ato ef gyda neges fydol ar y Sabboth. Rhoddodd esiampl teulu parchus Trefnusfaes, yn parchu y Sabboth, dôn ac arwedd fendithiol i'r Sir yn neillduol, a'r Dalaeth yn gyffredinol.

Mae Dafydd Morgan yn wr urddasol; hanfod urddasoldeb ydyw hunan-barch, neu yn hytrach amlygiad o hunan-barch, a'r amlygiad hwnw yn ddiymdrech ac anymwybodol o'r gwerth a roddir gan un arno ei hun. I ddyn urddasol, mae pob peth a wna yn urddasol dan ei law; ac os amaethu y bydd dyn urddasol, fel ein harwr, gwna ef hyny mor anrhydeddus a phe yn wladweinydd fel Abraham Lincoln. I ba le bynag yr ä gwr urddasol, mae yno yn ei ddylyn syniad o barch ac anrhydedd. Mae ef fel olwyn fantol i'r gymdeithas y troa ynddi. Nid ydyw yn chwerthin byth yn rhy faith a rhy uchel; nid ydyw digrifwch a llawenydd byth yn cael ei gario yn rhy bell yn mhresenoldeb gwr urddasol. Ar yr un pryd, nid ydyw ei bresenoldeb yn un atalfa ar rediad rhydd a gweddus ymddyddanion mewn cymdeithas. Mae graddau penodol o dawedogrwydd yn nglyn a gwir urddas, ac felly nid ydyw perchen urddas yn hollol dryloew. Gall fod, ac fel mater o ffaith,

rhaid iddo fod yn rhydd, agored, a chymdeithasol, ond y mae yn bresenol bob amser allu tawedog. Gall fod yn dryloew, er nad yn tryloewi. Y mae rhyw fath o gyfaredd yn y peth hwnw ag y byddwn ar fin ei weled, ac eto yn methu a'i weled; gan hyny, mae meddwl y dyn urddasol yn ffynonell ddihysbydd o hyfrydwch i'w gyfeillion. Y mae efe bob amser yn garuaidd, a byth i'w ochel neu ei wylied; a dyna yn union ydynt nodweddion cymeriad Dafydd Morgan. Rhoddai ef fwy o urddas ar bob swydd y bu ac y mae ynddi, nag allasai y swydd anrhydeddusaf ei roddi arno ef. Bu yn llanw y swyddau mwyaf cyfrifol yn ei Sir a'i Dalaeth. Etholwyd ef yn Drysorydd y Dalaeth am amryw dymorau yn olynol; a bu ei enw fwy nag unwaith mewn cyngorau i'w ddewis yn Llywodraethwr Talaeth Wisconsin; ond nid ydoedd yn ymawyddu nac yn ceisio am un swydd. Pe yn swyddgeisiwr awyddus, ac yn myned trwy ei Dalaeth i'r amcan hwnw, buasai ei etholiad yn sicr. Nid cael ei ethol i swydd er mwyn y swydd a'r enw ydoedd ei amcan ef, ond derbyniai swydd pan elwid arno gan ei gyddinasyddion, a chyflawnai ei ddyledswyddau bob amser yn gydwybodol ac i foddlonrwydd cyff-

redinol. Nid ydoedd ein harwr yn "politician" o gwbl. Ni waeddai ac ni chlywid ei lef ef ar yr heolydd gyda dim a wnai.

Ganwyd i Dafydd Morgan a'i briod wyth o blant, tair o ferched a phump o feibion; a bu ef a hithau yn ffyddlawn i'w hymrwymiadau fel rhieni ar eu haelwyd tuag atynt oll. Derbyniasant yr addysg oreu ar yr aelwyd yn Trefnusfaes, ac yn ysgolion y Dalaeth, fel ag y maent oll yn gymwys i gyflawni dyledswyddau bywyd yn anrhydeddus. Dygwyd hwynt oll i fyny yn amaethwyr ac amaeth-wragedd. Buont yn gwasanaethu eu tad ar y fferam hyd nes iddynt sefydlu ar gartrefi o eiddo eu hunain, ac fel y byddent yn gwneyd hyny, ac yn gadael yr hen aelwyd, cyflwynai Dafydd Morgan i bob un weithred am 160 erw o dir wedi ei ddiwyllio yn dda, a dwy fil o ddoleri, dau geffyl a dwy fuwch. Hefyd, rhoddai eu mam iddynt ddau bar o ddillad gwelyau o'i gwneuthuriad ei hun, a hyn a wnai y tad a'r fam fel tal i'r plant am eu gwasanaeth iddynt hwy, ac nid rhoddion heb eu henill. Erbyn hyn, mae plant Trefnusfaes oll wedi priodi, ac ar eu haelwydydd eu hunain, a phob un o'r aelwydydd hyny yn dwyn delw aelwydydd eu tadau; ond mae yn arw genym or-

fod dywedyd fod un o'r aelwydydd heb y ddyleswydd deuluaidd arni yn gyhoeddus gan y penteulu. Priododd un o'r merched Ellmyn cyfoethog yn y Dalaeth o deulu parchus, ac yn Brotestaniaid. Mae y ferch fach hono agorodd ystafelloedd calon ei thad a'i mam yn Trefnusfaes, haner canrif a dwy o flynyddoedd yn ol, yn fam i chwech o blant, a'r hynaf o'i phlant hithau yn dad i dri o blant. Bu Dafydd Morgan a'i briod ar ymweliad a gwlad eu tadau bedair gwaith, a chymerent gyda hwynt ddau o'u plant bob tro, fel y cafodd eu holl blant weled yr aelwydydd y magwyd ac yr addysgwyd eu rhieni arnynt yn Nghymru. Bu Llewelyn, ei frawd, ar ymweliad a'r wlad hon ddwywaith, a gwelodd a mwynhaodd gartref cysurus ei frawd a'i deulu dedwydd yn Trefnusfaes, Columbus, Wisconsin. Bydd teulu Dafydd Morgan yn ymgynull at eu gilydd oll i gael aduniad teuluaidd unwaith bob blwyddyn, ar Ddydd Diolchgarwch yn y Dalaeth, a bydd y dydd yn ddydd o lawen chwedl iddo ef a'i briod—gweled eu plant a phlant eu plant yn meithrin eu plant. Yr oedd yr aduniad teuluaidd hwn yn Trefnusfaes ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf yn rhifo 54!

Mae yn Wisconsin a Thalaethau eraill, gymdeithas a elwir "Cymdeithas yr Hen Sefydlwyr," gweithrediadau yr hon sydd yn meddu llawer iawn o ddyddordeb cyffredinol. Yn un o'i chynulliadau diweddar cafwyd anerchiad nodedig o ddyddorol gan Dafydd Morgan. Dechreuodd adrodd ei adgofion o'r adeg y daeth efe i'r diriogaeth yn ddyn ieuanc 25 oed. Adroddai o'i gof yn syml a naturiol, nes oedd y cyfarfod trwyddo wedi ei wefreiddio, ys dywedir, gan y beirdd newyddion, am gyfarfod y cafwyd tipyn o hwyl ynddo, chwedl yr hen Gymry. Dywedodd ein harwr ei adgofion, ac nid darllen papyr fel a wneir yn yr oes oleu hon, ar bobpeth, hyd yn nod pregethu yr efengyl (!). Ar ddiwedd y cyfarfod rhoddwyd cais ar fod i Dafydd Morgan orphen ei adgofion dyddorol yn eu cynulliad nesaf; a gofynwyd iddo a fyddai ef cystal a'u hysgrifenu a'u rhoddi i ysgrifenydd y Gymdeithas i'w cyhoeddi yn mhlith ei chofnodion. Dywedodd y byddai iddo gydsynio â chais y cyfarfod, os arbedid ei iechyd a'i fywyd; ei fod wedi ei ysgrifenu yn llawn ar ei gof, ac ar ei lyfr i fyny i'r adeg hono. Pan y daw y cofnodion hyn allan trwy y wasg, gobeithiwn y cawn y pleser o'u gweled a'u darllen, am y

gwyddom y byddant y pethau mwyaf dyddorol a gyhoeddwyd gan unrhyw Gymdeithas gyffelyb trwy y Talaethau.

Dyma ni wedi dylyn Dafydd Morgan a Gaenor Lewis trwy eu gyrfa i oedran teg. Mae efe yn awr yn 82 mlwydd oed, a hithau yn 80, a'r ddau yn mwynhau iechyd da, ac yn lled heinif eto. Nid oes angen dweyd eu bod yn haeddbarch. Gwel hwynt, ddarllenydd, os nad ydwyt wedi blino; ac er yn flinedig, edrych, ac wrth syllu arnynt ti a anghofi dy flinder gan swyn yr olygfa. Ie, ni a erfyniwn arnat, ddarllenydd amyneddgar, os nad ydyw dy amynedd wedi dy lwyr adael wrth ein dylyn, sylla enyd bach mewn adfyfyrdod ar y ddeuddyn, yn dawel a hamddenol, yn eu henaint a'u penllwydni ar derfyn eu gyrfa. Gwel hwynt ar ganol y ffordd y rhoddwyd eu traed arni ar yr aelwyd pan yn blant, dan addysg eu rhieni. Y maent yn dirfion ac iraidd, ac yn gwirio y rhagfynegiad, "A phan heneiddia nid ymedy a hi." Onid ydyw yn ddrych sydd yn adlewyrchu rhagoriaethau dylanwad addysg yr aelwyd?

# ADGOFION MEBYD YN LLANBERIS.

## PAN YN DRIGAIN OED.

---

Awen! adrodd fy adgofion
  Am ddelweddau boreu f'oes,
Pan yn blentyn yn Llanberis,
  Cyn cyfarfod unrhyw loes;
Mae'n ymrithio yn y pellder,
  Drwy helyntion chwe deng mlwydd,
Nes wy'n canfod panorama
  Llwybrau mebyd yn fy ngwydd.

Swn cyfoedion a'n chwareuon
  Sydd yn dyfod i fy nghlyw,
Dai Ty Ucha', Wil y Siamber,
  Jane a Chadi hawddgar syw;
Dafydd Michael, Wil Ty Newydd,
  Bob Cae'r Ty, a Dic y Glyn,
Dic Cae'r Meincia, Dafydd 'Sgubor,
  Pa le maent hwy erbyn hyn?

Pyrs a Dafydd o Twyn Celyn,
  Lowri a Sionat o'r Coed Mawr,
Rhys Cae'r Fran a Wili Weldon,
  Tom Llanrwst, ein beiddiol gawr;
Beti Huws a Begw'r Hafod,
  Jeffra ac Alsi Bwlch y Groes,
Nel a Lora fwyn Cae Esgob
  Dd'ont i'm gwydd ar derfyn oes.

Mewn estronol wlad mae'm calon,
  Yn hiraethu am y plant,
Fel y byddem yn ymgasglu,
  I chwareuon drwy y nant;
Yma'n alltud o'u cymdeithas
  Ydwyf mewn estronol fro,
Y mae hiraeth yn fy llethu
  Wrth eu galw'n ôl i'm co'.

Adgof sydd yn enyn hiraeth,
  Hiraeth! O! pa beth yw hwn?
Ai rhyw hunllef sydd yn pwyso
  Ar fy ysbryd megys pwn?
Na, nid dyna ydyw hiraeth,
  Ond rhyw deimlad treiddiol byw;
Ac o'i feithrin cwyd fy ysbryd
  At orseddfa rasol Duw.

Os gwna adgof fi'n hiraethus,
  Ar ei aden gwibio wnaf,
Drwy yr ardal hen, ramantus,
  Fel ymwelydd yn yr haf;
Af i'r Capel Coch yn heinif,
  Fel y bum yn llaw fy mam,
Yma cyfyd ynwyf hiraeth—
  Ni raid i mi ddweyd paham!

Dacw Griffith Jones, y blaenor,
  A Huw Huws yn y set fawr,
Thomas Dafydd a John Robins,
  Gyda'r plant yn llanw'r llawr—
Dyma seiat pobl yr Arglwydd—
  Gwinllan Seion—eglwys Dduw,—
Etifeddiaeth lan ddiaflwydd,
  Gweithfa fawr y meini byw!

Wedi darllen a gweddio,
  Yna canu mawl yn nghyd,
Codai un o'r hen flaenoriaid
  I roi cyngor duwiol-fryd;
Tua'r llawer äi blaenor arall,
  Er dod at y plant yn nes,
Idd eu gwrandaw'n dweyd adnodau,
  Un ac un ar hyd y rhes.

Ar ol darfod rhoi cyngorion
  Da i'r plant, pa fodd i fyw,
Rhyw hen fam adroddai 'i phrofiad
  O'i myfyrdod gyda'i Duw,—
Am y wledd a gâdd i'w henaid
  Drwy ddylanwad moddion gras,
A'r frawdoliaeth yn ymborthi
  Ar y cyfan gyda blas.

Ond ni wyddwn y pryd hyny
  Ddim am nerth y pethau hyn,
Na bod iddynt unrhyw amcan,
  Amgen gwneyd fy mam yn syn!
Heddyw teimlaf eu heffeithiau,
  Gwnaeth y pethau hyn eu hôl,
Cyfrodeddant drwy'm teimladau,
  Nid oes dim a'u deil yn ol.

Cawsom yn y cyfnod hwnw,
  Lawer tro difyrus iawn,
Chwareu pel a churo bandi,
  Tynu grug a chario mawn;
Chwareu *mig* o dan y llwyni,
  Chwareu llamu cam a naid,
Chwareu melin wrth yr afon,
  Ddengys adgof yn ddibaid!

Adgof sydd am ddringo'r bryniau
Ban, warchodant yr hen fro,—
Bryn Cae Bach, y Foel a'r Wyddfa,
A grwydrasom lawer tro;
Campio a rhedeg ar y llethrau
Mal yr wyn yn ysgafn droed,
Cyn i orthrwm na gofidiau
Ddod i gwrdd a ni erioed!

Ni chanfyddir yn Llanberis
Nemawr un adwaenaf mwy;
Ac mae f'enw yn ddyeithriol
Drwy holl gyrau fy hen blwy';
Pan yn tramwy drwy'r hen ardal
Anwyl, rai blynyddau'n ol,
Syn-ryfeddwn wel'd dyeithriaid
Yn f' hen gartref, Coed y Ddol!

Pan chwareuwn yno'n blentyn,
Nid oedd yno ond dau dy,
Lle mae heddyw dref boblogaidd—
O! y cyfnewidiad sy'!
Lle'r oedd cyll a choed criafol
Drain a deri'n tyfu'n ir,
Eirin tâg a mwyar duon
Gyda'r llus yn hilio'r tir.

Coed y Ddol! Pa le yr aethoch?
Beth ddygwyddodd i chwi, goed?
Ar eich cangau chwi y clywais
Gog yn canu gynta'r 'rioed;
Ar eich breichiau ar ben boreu,
Byddai'r ceiliog bronfraith syw,
Yn telori ei beroriaeth—
Llanwai 'r wlad a'i nodau byw.

Coed y Ddol, ni welir mwyach,
  Na'r Coed Mawr lle crawciai'r fran,
Pa fwyellwr feiddiodd dori
  Cartref cor yr adar mân?
Coeden arall oedd fan acw,
  Wrth y clawdd ar allt Ty Du,
Ddenai'r gog yn aml i ganu
  Dros y nant, "cwcw, hu hu."

Erbyn heddyw adeiladu
  Sy'n gorchuddio Coed y Ddol,
Lle'r oedd unwaith goedwig eang
  Nid oes yma ddim o'i hôl;
Yn lle coed y ceir pinaclau,
  Yn lle'r nythod, ceir tref fawr;
Yn lle miwsig yn y goedwig,
  Twrf masnachol sydd yn awr!

Haner cant o flwyddi cyfain
  Wnaethant gyfnewidiad syn,
Plant oe'nt heinif y pryd hyny,
  Sydd henafgwyr llwyd pryd hyn;
Mae'r mynyddoedd yn heneiddio,
  Er cadarned ydynt hwy!
Mae'r tymestloedd yn eu treulio—
  Nid y'nt hwythau ieuanc mwy.

Mae'r Elidir fawr gyfoethog,
  A rhwygiadau yn ei bron;
Hithau'r Wyddfa gadarn, yddfog,
  Sy'n lleihau bob blwyddyn gron;
Ond er cymaint y galanas
  Wnaeth llaw amser arnynt hwy,
Mae'r afonydd gloewon peraidd,
  Yn addurno llethrau'r plwy'.

Gwelir afon Hwch, a'r Geinarch,
  Gyda'r afon Goch, a'r Glyn,
Mewn llawn brys i gyfrinachu
  Hefo'u gilydd yn y llyn:
Ac mae'r llynoedd yno beunydd
  Fel cain ddrychau gloewon, mawr,
Lle mae'r haul yn tynu darlun
  O'r gymydogaeth gyda'r wawr.

Llawer diwrnod dyddan dreuliwyd
  Yn y coed, gysgodol bant,—
Chwilio wnaem am nythod adar
  Galwem hwynt ar enwau'r plant,
Yr hwn welai nyth yn gyntaf
  Fyddai berchen yn y fan—
Felly'r nythod a adwaenid
  Drwy y goedwig yn mhob man.

Bywiog iawn fu dyddiau mebyd,
  Chwareu 'ngoreu wnawn o hyd,
Rhagarweiniad oedd i'm gyrfa
  Brysur, brysur yn y byd;
Wrth ôl dremio arnynt heddyw,
  O gyffiniau trigain oed,
Mor agosed ydynt ataf—
  Maent o'r braidd wrth flaen fy nhroed.

Pan yn ieuanc mi a dybiwn
  Fod y trigain oed yn mhell—
Draw tu hwnt i bob gweledlad—
  Heddyw gwn yn llawer gwell;
Dal o chwith y mae yr ieuanc
  Ei 'spienddrych yn ei law,
Ac wrth edrych drwyddi felly,
  Gwel bob peth yn mhell bell draw!

Ond henafgwr wel drwy brofiad
  Pedwar ugain mlwydd tu cefn,
Fel un dydd a'i fwyniant penaf
  Byth i ddod o'i flaen drachefn;
Bobl ieuainc, byddwch bwyllog,
  Mae eich gwanwyn o fawr werth—
Rhoddwch nod i gyrchu ato—
  Teilwng c adnoddau'ch nerth.

Mynwch wybod eich tueddfryd,
  At ba beth mae tynfa chwaeth,
Mynwch nabod chwi eich hunain,
  I'ch tueddfryd rhoddwch faeth;
Ymddadblygwch yn naturiol,
  Nid dynwared unrhyw un—
Natur fyddo i chwi'n gynllun,
  Ni wna byth ail ddweyd ei hun.

Wrth adgofio amser mebyd,
  Hawdd yw dywedyd pethau ffol;
Pan yn craffu drwy niwl amser
  Ar wrthrychau pell yn ol,
Gwelir nyth aderyn bychan,
  Fel y Wyddfa'n fynydd mawr;
Mae pob peth y cyfnod hwnw
  Yn eangu fel y wawr.

Pan yn syllu ar adgofion
  Am helyntion gwanwyn oed,
Ha! rhyfeddaf yn fy nghalon,
  Yr amddiffyn i mi roed;
Mae'm cyfoedion wedi myned,
  Bron i gyd tu hwnt i'r llen,
Ambell un a geir yn aros
  Fel fy hun yn wyn ei ben!

Ai myfi yw'r hogyn hwnw
  Fu yn chwareu gyda'r plant,
Ond sydd heddyw yn henafgwr
  Wedi dod i lawr i'r pant?
Ai y bachgen heinif hwnw
  Oedd fel ewig ar ei droed,
Sydd yn gwyro dan ofidiau
  Wedi pasio triugain oed?

Wel, nid oes i minau nemawr
  Ddim i'w ddysgwyl ond y bedd;
Pan yn ieuanc mi obeithiwn
  Am wynfydau llawn o hedd!
Ond fe'm siomwyd gan ymrithion
  Cyfnewidiol bethau'r byd;
Nid oes yma ddim sydd deilwng—
  Dim yn werth fy serch a'm bryd!

Yn fy henaint, O! mor felus
  Ydyw'r adgof am y fraint,
Ddarfod imi pan yn blentyn
  Gael fy meithrin gyda'r saint—
Rhoi fy ngwar dan iau yr Iesu,
  Ceidwad dyn a Noddwr plant,
Glynu wrthyf mae Ef heddyw,
  Ar fin bedd, "pan balla chwant!"

Mae y fraint a roddwyd i mi
  Yn hoff gyfnod boreu oes,
Wedi bod yn gylch am danaf
  I fy nghadw yn mhob croes;
Wrth ddiweddu hyn o gofion
  Diolch wnaf i eglwys Dduw,
Yn hen Gapel Coch Llanberis,
  Am gael lle i ddysgu byw!

Rhof ochenaid wrth derfynu,—
  Un ochenaid at fy Nuw,
Am fy nghadw'n "dirf ac iraidd"
  Yn ei winllan tra bwyf byw;
Diolch am gael ei was'naethu
  Hyd benwyni dan yr iau;
Boed ei ras i'm cynal eto
  Hyd y diwedd heb lwfrhau.

